## *AT Y DARLLENWYR.*

---

Anwyl Gyfeillion,

Oedwyd cyhoeddi y Gwaith hwn am ein bod yn disgwyl y gallasem eich anrhegu â darlun o'r awdwr, ond methasom er pob ymdrech a chael darlun teilwng o hono. Cafwyd llawer o drafferth i gasglu y Farddoniaeth, a chwiliwyd yn ofalus holl ysgrifau y bardd ynghyd a'r cyfnodolion yr arferai anfon cyfansoddiadau iddynt. Am y casgliad, yr ydym yn ddyledus yn benaf i lafurus gariad ei frawd, Mr. Richard Williams, (*Beuno*); ac am eu detholiad yn gystal a'r Cofiant i Mr. T. Jones, (*Cynhaiarn*). Dymunem hefyd gydnabod yn ddiolchgar y beirdd galluog a ysgrifenasant y llythyrau dyddorol sydd yn dilyn y Bywgraffiad. Y mae yn llawen genym gael cyflwyno i chwi Gyfrol o Farddoniaeth un o Awenyddion penaf Cymru, a chan hyderu y bydd ei darlleniad yn hyfrydwch a budd i chwi,

Gorphwysaf, eich ufudd wasanaethydd,

Y Cyhoeddwr.

Pwllheli, *Mehefin 20fed, 1881.*

## CYNWYSIAD.

TUDAL.

## AMRYWIAETHOL.

## BEDDERGRYFF, &c.

# COFIANT.

---

Yr oedd John Williams—neu fel yr adwaenid ef oreu yn ystod y deugain mlynedd olaf o'i oes, Ioan Madog—yn un o naw o blant a anwyd i Richard ac Elinor Williams, o Dremadog, yn Eifionydd. Mab ydoedd Richard Williams i William Thomas, amaethwr o'r Ysguborgoch, Penmorfa, a Margaret ei wraig, yr hon oedd yn berthynas i amryw o lenyddion Eifionydd.*

Gôf ydoedd Richard Williams wrth ei alwedigaeth, ac yr oedd yn ngwasanaeth sylfaenydd Tre' a Phorthmadog yn adeg gwneuthuriad y morglawdd. Oddeutu y flwyddyn 1811 symudodd ef a'i deulu i'r Bontnewydd, Ruabon, ac yn yr ardal hono ar y 3ydd o Fai 1812 y ganwyd gwrthrych y Cofiant hwn. Yn mhen naw mlynedd ar ol hyny yr oedd y teulu wedi dychwelyd i'w hên dŷ, ar tad yn gweithio yn ei hên efail yn Nhremadog.

Yn y dyddiau hyny yr oedd Eifionydd yn nodedig, nid yn unig am ragoroldeb ei beirdd, ond o herwydd lluosogrwydd a dylanwad y Cymdeithasau Cymreigyddol—neu "Cymroaidd" fel y gelwid rhai o honynt—a sefydlwyd mewn gwahanol ranau o'r cwmmwd. Prif amcan y cymdeithasau hyny, fel y dywedodd *Dewi Wyn* wrth anerch un o honynt oedd

"Cryfhau muriau 'r Omeriaith;"

eu prif rinwedd oedd gwladgarwch; ac yn eu cynulliadau profid hynafiaeth ac anfarwoldeb y Gymraeg, ynghyd a godidowgrwydd ei barddoniaeth. Cyrhaeddai eu dylanwad dros yr holl fro, fel nad oedd nemawr dyddyn, na masnachdy na gweithfa heb rywun llawn sêl dros lenyddiaeth y Cymry. Yr oedd tueddiad naturiol y genedl at farddoniaeth newydd gael symbyliad cryf yn nghyhoeddiad awdl "*Elusengarwch.*" Yr oedd y cam a gafodd y prif-fardd o'r Gaerwen, a'r ddadl gynhyrfus a herwydd hyny, yn cael sylw neillduol yn mysg

---

*Gwel "Enwogion Eifionydd" yn y *Brython*; Cyf. III. tudal 66.

ei gymydogion a'i edmygwyr yn Eifionydd. Cynyrchodd darllen barddoniaeth ysfa i rigymu, a'r beirdd a amlhasant yn ddirfawr. Yn eu mysg yr oedd y gôf o Dremadog. Yr oedd ef yn ŵr cryf o gorph a meddwl, yn llawn arabedd a bywiogrwydd, ac yn neillduol hoff o ddarllen barddoniaeth. Mynych gyrchai ei gyd-drefwyr atto i'w wrandaw yn adrodd gweithiau rhai o'r hên awduron, a phenill neu englyn digrifol o'i eiddo ei hun. Am dano ef y dywedodd ei fab Ioan—

"Heinyf dad o hen ôf du—yn brydydd
Heb erioed ei ddysgu;
Ei wèn ddawn a wna 'i ddenu
I wneud cân o enaid cu."

Nid rhyfedd i'r mab ddangos hoffder at farddoniaeth yn ieuanc. Byddai yn cael cyfarwyddyd a chefnogaeth ei dad, yr hwn a fawr lawenychai wrth weled ei gynydd mewn awen a chorpholaeth. Os digiai y tad oherwydd i'r mab droseddu cyfraith y teulu, attelid ei law geryddol pan gofiai fod ei fachgen wedi ei eni yn brydydd. Yn mhen blynyddau ar ol hyny, pan oedd Ioan yn dychwelyd o'r ŵyl farddonol gyntaf y bu ynddi—Eisteddfod y Bala—wedi enill gwobr neu ddwy, pan glywodd ei dad ei fod bron cyrhaedd gartref, rhedodd i'w gyfarfod, a llongyfarchodd ef—"*Well done* machgen i; mi wyddwn i y gwnaet ti eu curo nhw."

Cyn ei ddyfodiad i Dremadog nid oedd Ioan wedi cael unrhyw fanteision addysg ond a gawsai ar yr aelwyd, ac yn yr Ysgol Sul; yn wir, nid oedd y pryd hwnw ysgol ddyddiol o fewn milltiroedd i'w gartref. Yn Nhremadog bu am rai misoedd yn ysgol Mr. JOHN WYNNE, yr hon a gynhelid yn neuadd y dref; ac ar ol hyny bu am beth amser mewn ysgol a gynhelid yn yr un ystafell, o dan ofal Mr. D. WILLIAMS, gweinidog gyda'r Bedyddwyr. Bu raid iddo 'n fuan, modd bynag, ddewis galwedigaeth, ac er fod rhai a welent ynddo alluoedd llawer rhagorach na'r cyffredin yn ei anog i ddilyn swydd a'i dygasai i fwy o fri a chyhoeddusrwydd, penderfynodd fyned i wasanaeth ei dad fel gôf. Bu edifar ganddo ar ol hyny os oes coel i'r llinell,

"Gof aethum, gwae fi wythwaith!"

yr hon a adroddai yn fynych ar ol cyrhaedd oedran gŵr.

Yr oedd wedi enill sylw ei gymydogion fel bachgen o duedd fyfyrgar, doeth a chynil ei ymadrodd, a gweddaidd ei ym-

ddygiad. O ran ymddangosiad yr oedd yn deneuach ac ychydig dalach na'r cyffredin, yn llwyd ei wynebpryd, a threiddgar ei olygon. Yr oedd ei enw yn dechreu dyfod yn adnabyddus fel cynghaneddwr. Yr oedd er yn fachgen wedi dysgu rheolau "cerdd dafod," a gwyddai pa fodd i osgoi ei "beiau gwaharddedig." Hoffai ei gyfeillion fyned i'r efail i'w glywed ef a'i dad yn barddoni bob yn ail llinell; ac er mor ieuanc ydoedd, cyfansoddai ambell englyn a thoddaid yn y rhai y byddai yn fynych linellau teilwng o'r anrhydedd oedd yn ei aros. Er mai gweithiau y prif-feirdd, yn benaf Goronwy a Dewi Wyn, oeddynt ei hyfrydwch, darllenai bob llyfr o fewn ei gyrhaedd, ac yr oedd ei awydd am wybodaeth yn angerddol. Pan yn ddeunaw oed dychwelodd i Sir Ddinbych, mewn rhan i ddysgu ei gelfyddyd ond yn benaf er mwyn enill ychydig arian i'w alluogi i gael ychwaneg o addysg. Y flwyddyn ganlynol yr oedd yn Nghaernarfon yn ysgol ei hen athraw J. WYNNE, ond wedi arhosiad byr yno dychwelodd i Dremadog i ail-ymaflyd yn ei oruchwyliaeth.

Glynodd wrth ddarllen a phrydyddu, ac aeth ei enw yn hysbys drwy yr ardaloedd. Cyfansoddai englyn neu gerdd ar bob dygwyddiad o ddyddordeb yn y gymydogaeth. Daeth i gydnabyddiaeth â rhai o'r prif-feirdd, a ffurfiodd gyfeillgarwch agos a pharhaol gydag amryw o honynt. Ymwelid ag ef yn ei weithdy gan lenorion galluog, i'r rhai y byddai rhwyddineb a phertrwydd ei awen yn wledd ddymunol. Er nad oedd ei gyfansoddiadau ond byrion, yr oedd arnynt eneiniad yr "awen wir," ac edrychid arno gyda hoffder ac edmygedd fel un o feirdd ieuainc mwyaf addawol Cymru. Aeth i Eisteddfod y Bala yn y flwyddyn 1836, ac yno yn ol "braint a defawd" yr urddwyd ef yn fardd. Mewn llythyr a ysgrifenwyd atto fwy na chwarter canrif ar ol hyny, gofynai ei gyfaill Talhaiarn—"Wyt ti yn cofio Eisteddfod y Bala yn yr hên, hên amser gynt, pan y cawsom ein hurddo gyda 'n gilydd ar fin Llyn Tegid? Llon'd berfa olwyn o bobol, a llon'd gwagen o feirdd!" Onid yw yr un cyfartaledd o "feirdd" a "phobol" yn parhau mewn ambell ardal yn Nghymru hyd y dydd hwn?

Y cyfansoddiad cyntaf o eiddo Ioan Madog a ellir restru yn mysg ei orchestweithiau yw "Awdl yr Ystorm." Cyhoeddwyd yr awdl hono. ynghyd a lluaws o englynion a thoddeidiau o waith y bardd, yn y *Gwladgarwr*. Byddai yn fynych yn cydnabod y gefnogaeth garedig a gafodd gan olygydd

athrylithgar a chyhoeddwr gwladgarol y cylchgrawn hwnw; ac yn mysg y llythyrau a gadwyd yn ofalus ganddo, yr oedd un oddiwrth y cyhoeddwr yn cyflwyno ei "ddiolchgarwch gwresocaf am yr anrhegion barddonol campus a chywrain" a dderbyniasai oddiwrtho.

Yn mis Ebrill, 1838, priododd gydag ANN, merch HUMPHREY EVANS, amaethwr, Llanfair, ger Harlech. Bu iddynt naw o blant, o ba rai mae pump yn fyw. Yr oedd er's rhai blynyddau cyn hyny wedi symud i Borthmadog, lle y bu yn dilyn ei alwedigaeth fel meistr gôf hyd ei farwolaeth. Ni chafodd "gofalon y byd hwn" ei attal rhag dilyn ei hyfrydwaith o farddoni; ar y llaw arall, ac yn wahanol i rai o'r frawdoliaeth, ni chafodd ei hoffder o'r awen ymyryd yn ormodol a'i ddyledswyddau fel penteulu. Dywedai ef—

"Ni bu erioed Gymreig brydydd—yn byw
Ar bwys ei awenydd,
Er ei gwên a'i mawr gynydd
Lle sâl ar ei llaw hi sydd.

Rhaid i mi rhag culni caeth
Ofalu am fywoliaeth."

Yr oedd ei glod fel awenydd o'r radd flaenaf yn parhaus gynyddu. Pan gynygid gwobr am farddoniaeth byddai ef yn fwy mynych na'r un awdwr arall yn fuddugwr. Ni chyhuddid ef o lenladrad, na'r beirniad o anghyfiawnder pan roddid gwobr iddo. Mewn cystadleuaeth nid oedd un ymgeisydd mwy peryglus, ac enillodd rai gweithiau (megys am Feddargraff Dewi Wyn) pryd yr oedd yn gydymgeiswyr ag ef rai o feirdd mwyaf adnabyddus a galluog y genedl.

Yn y blynyddoedd hyny byddai Ioan Madog yn mwynhau llawer o gyfeillach ELLIS OWEN, o Gefnmeusydd, yr hwn a fu am lawn haner canrif yn gyfaill a noddydd pob bardd ieuanc gobeithiol yn Eifionydd. Byddai Ioan hefyd yn fynych yn nghwmni Emrys, ac ar ol gwrandaw y bardd-bregethwr enwog hwnw byddai yn ymddifyru drwy gynghaneddu rhai o'i syniadau tlysion. Yr oedd Emrys yn fardd cyn ei ymsefydiad yn Mhorthmadog yn y flwyddyn 1837, ond y mae yn amheus a fuasai yn cyrhaedd safle mor uchel yn mysg ein cadeirfeirdd pe na chawsai ei symbylu gan awen lai diwylliedig Ioan Madog; ac y mae yn sicr fod Ioan yn ddyledus i raddau helaeth i hyfforddiant ei gyfaill am y coethder a'r tlysni a nodweddant ei brif gyfansoddiadau.

Yr oedd Cymru wedi bod am amryw flynyddoedd heb ei gŵyl genedlaethol pan gynhaliwyd Eisteddfod Freiniol Aberffraw yn 1849. Anfonodd Ioan Madog i'r gystadleuaeth hòno ei Gywydd "Diffyniad Gibraltar gan Elliott," ac iddo ef y dyfarnwyd y wobr. Yn y flwyddyn ganlynol, yn Eisteddfod Rhuddlan, gwobrwywyd ef am y Cywydd goreu ar "Coffadwriaeth y Dr. Morgan." Yn Eisteddfod Madog, yn 1851, ei Gywydd ef er "Coffadwriaeth am R. Ab G.Ddu," oedd y buddugol Y mae y Cywyddau hyny yn mysg cynyrchion goreu ei awen, a rhoddid canmoliaeth uchel iddynt o herwydd rhwyddineb a newydd-deb y gynghanedd, yn gystal a choethder urddasol y syniadau. Yr oedd ei lwyddiant fel cystadleuydd yn mwyhau ei hoffder naturiol o'r Eisteddfodau a dysgwyliai yn bryderus am danynt fel adeg o seibiant difyrus oddiwrth ei lafur beunyddiol. Y mae lluaws yn cofio y bardd gwylaidd a diymhongar o Borthmadog yn uchel-wyliau y genedl, fel y swynid ei gyfeillion gan barodrwydd a chwareugarwch ei awen, yr hon oedd fel ffrwd loew, lifeiriol, ddihysbydd. Felly y cyffelybai Ellis Wyn o Wyrfai "Awen Ioan Madog" yn 1851—

"Mae hon fel ffrwd y mynydd—dry ei phen
Draw o ffynon lonydd;
Neidia, rhêd, â dwnad rhydd
I dawelwch y dolydd."

Yr oedd ei "haul" erbyn hyn yn "awr anterth." A ydyw y syniad a gyfleir yn y gymhariaeth gyffredin o "rosyn yn mysg y drain" yn rhan dyn ar y ddaear? Wedi i'n bardd enill cydnabyddiaeth gyffredinol o'i athrylith, a chynyrchu y gobeithion uchaf am ei ddyfodol, cyfarfyddodd â phrofedigaethau a barasant iddo flinder lawer, ac a attaliasant i raddau ei gyfathrach a'r awen am y gweddill o'i oes. Gall llaweroedd heb unrhyw gyffro ddioddef trallodau a ddygant chwerwder enaid i'r tyner a'r uchelgeisiol; ac os llethwyd ef gan ei deimladau, pwy o'i gydnabod a goleddai tuag atto syniad amgen na chydymdeimlad tosturiol, a chyfeillgarwch didór?

Drwy drafferth y llwyddwyd i'w gael i Eisteddfod Llangollen yn 1858, ond pan aeth yno profodd nad oedd ei awenydd wedi colli ei rhwyddineb na'i nerth. Yn yr Eisteddfod hòno ar achlysur cadeiriad Eben Fardd y cyfansoddodd yr Englynion campus sydd yn tudalen 117. Dengys y llythyr can-

lynol a dderbyniodd oddiwrth y cadeirfardd pa beth a dybiai y wlad am dano y pryd hwnw:—

"CLYNNOG FAWR, *Hydref 6ed, 1858*

"FY AWENYDDOL GYFAILL,

Nis gallaf dawelu fy nghydwybod heb gydnabod fel hyn yn barchus a diolchgar y rhwymedigaeth sydd arnaf i chwi am eich Englynion digymmar i'm cyfarch ar achlysur *Cadair Powys*. Nid wyf yn meddwl ddarfod i un Bardd Cymreig erioed lunio Englynion mor nodedig o berffaith, rhwydd, tarawiadol a thlysion. I'm bryd i nid oes dim yng Ngoronwy na R. Ap G. Ddu yn dyfod i fyny a hwynt mewn llyfnder esmwyth, ffraethineb gloyw, a pherffeithrwydd englynol. Nid wyf fi yn deilwng o honynt, mae yn wir, ond er hyny yr wyf mor falch o honynt ag o'r *Tlws Arian*, a theimlaf ryw anfarwoldeb mewn bod a fy enw yn y fath Englynion o rywogaeth a bery byth.

Ioan Madog !—ni ymedy—dy glod
O glyw yr Hên Gymry ;
Ah ! dy bur wawd a bery
Tra hylif rêd, tra haul fry.

Derbyniwch fy niolchgarwch diffuant, a'm cofion mwyaf anrhydeddus.

Yr eiddoch yn annheilwng,

E. FARDD."

Tua'r un adeg derbyniodd lythyr yn cyfeirio at yr un Englynion oddiwrth I. Glan Aled yr hwn a ddywedai yn ei ddull nodweddiadol ei hun—"Yr wyf yn eu hystyried fel cynifer o *Diamonds* o'r dwfr puraf wedi eu gosod gan gerub mewn seren aur. Peth fel hyn sydd yn gwneyd i Bryddestwr wylo uwch bedd y cynghaneddion."

Ar ol hyn cafodd Ioan ei gymhell yn fynych i feirniadu y Farddoniaeth yn y prif Eisteddfodau, ond bob amser gwrthodai gydsynio. Yn wir, nid oedd wedi ei alw i fod yn feirniad; yr oedd y caredigrwydd a'i tueddai i organmol y cyfansoddiadau a ddarllenai yn ei anghymwyso i'r swydd, a byddai ysgrifenu rhyddiaith yn drafferth iddo. Yr oedd i raddau wedi colli ei flas ar y pethau oeddynt cyn hyny wedi bod yn hyfrydwch iddo; os elai i Eisteddfod blinai yno, ac ymddangosai fel pe byddai y bardd swynol i ymgolli yn y celfyddydwr cywrain.

Ac yr oedd Ioan yn rhagori fel celfyddydwr yn gystal ag fel bardd. Yr oedd ôl gofal a medrusrwydd ar ei holl waith, a phe cawsai ragorach manteision yn ei ieuenctid, buasai yn sicr o enill enwogrwydd fel peirianydd. Ar y pen hwn nis

gallwn wneyd yn well na rhoddi y sylwadau canlynol a ysgrifenwyd gan ei nai talentog Mr. W. Williams, (Gwilym Meirion)

"Yr oedd Ioan Madog nid yn unig yn gelfydd fel bardd o'r radd flaenaf, ond yr oedd hefyd yn allofydd cywrain a medrus, yr hyn a brofir gan amryw beirianau gwerthfawr o'i wneuthuriad.

Yn y flwyddyn 1849 dyfeisiodd Sidlath droellawg *(Revolving Windlass)* i laesu a chodi angorau, yr hwn sydd erbyn hyn mewn llongau, ac ar yr hwn y gallasai gael breinteb *(patent)* pe y buasai wedi gallu cytuno am dano â'r breinteb-roddwyr.

Dyfeisiodd hefyd beiriant defnyddiol iawn fel *Chain-stopper* i angorau, ac er ei fod yn offeryn effeithiol, etto o herwydd rhywbeth nad ydym yn gwybod am dano ni chariwyd ef allan i gyflawn berffeithrwydd.

Yn y flwyddyn 1870 cynlluniodd yr hyn a alwai *Expanding Jumper*,—offeryn defnyddiol iawn mewn chwarel tuag at dyllu twll eangach yn y gwaelod nag ar y wyneb, yr hyn sydd fanteisiol iawn i'r pylor i weithredu yn well.

Llwyddodd mor foreu a'r flwyddyn 1856 i wneuthur Pedfuanydd *(Velocipede)* rhagorol, yr hwn sydd etto i'w weled yn ei hên gartref. Yn y flwyddyn 1873 cynygiodd gyda chryn lawer o lwyddiant i wneyd Tywod-flwch hunan-weithredol *(Self-acting Sand box)* ar beirianau Reilffordd Ffestiniog tuag at wneyd i'r tywod ddisgyn o hono ei hun ar y reiliau er cadw y *train* rhag llithro. Ac nid yw y rhai hyn ond ychydig o lawer o enghreifftiau a allesid eu nodi o gywreingarwch celfyddol ei feddwl. Yr oedd dyfeisio a threfnu yn un o deithi naturiol a gwreiddiol ei enaid. Yr oedd yn hynod o ofalus a glân gyda ei arfau gweithio, a pha beth bynag a wnelai yr oedd bob amser yn lân a gonest."

Y mae y Drefn fawr ag sydd wedi "gosod y naill ar gyfer y llall" wedi gofalu yn mhob ardal am rai dynion blaenllaw a bywiog, i chwenych pob swydd, ac i ymyryd yn mhob achos, ac—mor bell ag y mae a wnelont hwy ag ef—i fyn'd a'r byd ymlaen. Gofala hefyd am roddi yn gymydogion iddynt, ddynion tawel, esmwyth, yn ymgilio o'r golwg pan fyddo y dref neu y plwyf mewn cyffro. Un o'r dosbarth olaf oedd Ioan Madog, ac yr oedd gochelgarwch a gwylder yn mysg ei nodweddion amlycaf. Yr oedd yn gymydog caredig a diabsen, ac y mae y rhai a'i hadwaenent oreu yn dystion o hynawsedd ei galon, a phurdeb ei gyfeillgarwch.

Er na byddai mwyach, megis cynt, yn ymgystadlu am brif wobrwyon yr Eisteddfodau, ni ddarfu iddo dori pob cysylltiad a barddoniaeth, ac nis gallasai chwaith. A oedd yr awen a fu yn gydymaith a dyddanwch iddo o'i febyd i'w adael yn ei brofedigaeth? Yn hytrach hi a'i carodd yn fwy, ac nid ymadawai ag ef. Nis gallesid aros ond ychydig yn ei gwmni

heb gael cyfleusdra i ryfeddu ac edmygu ei "awen barod" fel ei gelwid; yr hyn ynddo ef oedd y gallu a feddai tuhwnt i bawb o'i gydoeswyr i roddi unrhyw syniad a fynai yn ngwisgoedd mwyaf dillyn y gynghanedd heb oediad na rhagfyfyrdod. Condemniwyd y gynghanedd o dro i dro gan rai o brif feirniaid ein gwlad, a dywedwyd pob drygair am dani; y mae cenedlaethau o feirdd wedi bod yn "ocheneidio, yn llwythog" o herwydd y baich a roddai arnynt; ond pe buasai pob bardd fel Ioan Madog, nis gallasai un beirniad amheu rhagoriaeth y gynghanedd fel addurn yr awen Gymreig. Yr hyn a fuasai i luaws o feirdd galluog yn anhawsder dirfawr, ydoedd iddo ef megys anadl ei enau.

Yn mysg ei englynion "byrfyfyr" y mae y rhai a ganlyn: I'r Daran—

> "Enyniad fry yn anian—o orlawn
> Awyrlif a gwefrdan:
> A thrwst rhuthriad tyniad tân
> Drwy y dwr ydyw'r daran."

Wrth wrandaw ei gyfaill J. Lewis, *Blockmaker*, yr hwn oedd newydd golli ei wraig, yn datgan ei dristwch a'i hiraeth, dywedai y bardd

> "Yn nhrwst tonau trist anian—ei gwr hoff
> Geir o hyd yn cwynfan;
> Gofid a cholled gyfan
> Ydyw byw a bod heb Ann.

Un diwrnod pan yn glaf ymwelodd a'i ddysgybl awenyddol Mair Eifion, yr hon a gymhellai ychydig win iddo. Yn y fan anerchodd hi—

> "Mair anwyl, yn nhymor enaid—dylem
> Dalu parch bendigaid
> I Dduw byw, 'r Hwn yn ddibaid
> Rydd win i fyrdd o weiniaid."

Rhoddir yr engreifftiau hyn am mai hwy yw y rhai cyntaf i ddyfod i'n meddwl; gallesid llenwi tudalenau lawer a'u cyffelyb.

Yn y flwyddyn 1871, cyhoeddwyd testynau Eisteddfod y Gordofigion. Y prif destyn oedd, "Y darn goreu o Farddoniaeth Gymreig heb fod uwchlaw 500 llinell;" a phenderfynodd yntau ymgeisio arno. Cyfansoddasai flynyddau cyn hyny amryw ddarnau campus ar destynau yn dwyn perthynas a bywyd y Gwaredwr. Casglodd hwy ynghyd, gwnaeth rai

llinellau i'w cysylltu yn gyfanwaith, ac anfonodd i'r gystadleuaeth yr awdl benigamp sydd yn nechreu y gyfrol hon. Ni wobrwywyd ef, ond allan o ddeg ar hugain o ymgeiswyr rhestrwyd ef yn uchel yn y dosbarth blaenaf. Dywedai y beirniad (Nicander) am y cyfansoddiad :—

"Awdl ardderchog, ddyddorol odiaeth, ar gynllun rhagorol; rhoddi'n gyntaf fyr-hanes am waith a dioddefaint y Gwaredwr yn nyddiau ei gnawd, ac yna'r effaith o hyny ar gredinwyr ac ar yr Eglwys. Mae'r dullwedd a'r ymadroddion yn gaboledig i'r eithaf, a'r gynghanedd yn gywrain a swynol; ymddengys fod cynghaneddu mor naturiol i'r awdwr ag anadlu. Mae'r gynghanedd bron yn rhy hawdd iddo, fel yr oedd hi i Pedr Fardd. Od oes dim diffyg yn yr Awdl hon, diffyg cryfder ydyw. Ond nid oes fodd fod Awdl felusach na mwy dillyn. Un o'r cyfansoddiadau goreu yn yr iaith. Mae hi braidd yn rhy amleiriog yn y toddeidiau."

Nid ydym yn dweyd fod yr awdwr wedi cael cam, ond pa sawl awdl a fu yn aflwyddianus mewn cystadleuaeth Eisteddfodol a ystyrir erbyn hyn yn mysg trysorau gwerthfawrocaf yr iaith, tra y mae yr awdlau gwobrwyedig er's blynyddau yn nhir anghof?

Anfonodd Ioan yr Awdl i feirniad y meddai bob hyder ynddo—un ystyria y beirdd ei ddyfarniad yn derfyn iddynt ar bob ymryson—a dywedai ef

"Yn wir awdl odidog iawn ydyw, gogystal yn ddiau a'r odidocaf a feddwn, ac ar y testyn godidocaf y canodd dyn nac angel arno erioed. Teimlwn iasau yn fy ngherdded wrth ei darllen."

Nid oes amddifadrwydd o "gryfder" mewn Awdl sydd yn cynnwys amryw ddarnau tebyg i'r llinellau canlynol:—

"Deuai'r mawr wyntoedd, draw y môr yntau
Ergydiai 'i anwar gynddeiriog donau;
Gorlifai anian—rhwygai 'r elfenau,
A dig arwyddion yn gordoi 'u gruddiau,
Mellt cochion gwylltion yn gwau—'n frawychus
A swn truenus yn y taranau."

Mor ragorol yw yr Englynion a ganlyn—

Crist ger bron Pilat—

"Y Duw dirfawr, diderfyn—bu ryfedd
Ei brofi gan adyn;
Un fu 'n llunio tafod dyn
Yn fud o flaen pryfedyn!"

Crist fel Meddyg—

"Pob cur a dolur drwy'r daith—a wellheir
Yn llaw'r Meddyg perffaith;
Gwaed y Groes a gwyd y graith
Na welir mo'ni eilwaith."

Caledwch y Galon—

"Er y llefain a'r llafur—a'r ysgwyd
Fu ar esgyrn natur,
Iach ydoedd y pechadur
A'i deimlad e' mal y dur."

Y Saint Gwaredol—

"E ga'r didwyll gredadyn—gydchwareu
Gyda cherub claerwyn,
A rhodio'n ddifyr wedy'n
Efo'r Brawd fu ar y bryn.

Ond ni amlheir enghreifftiau. Os dywedir fod ôl brys ar amryw o'r llinellau, ac nad yw yr awdl fel cyfanwaith mor berffaith a rhai o gywyddau yr awdwr, cydnabyddir fod ynddi rai darnau melus odiaeth, y rhai a fyddant yn nghôf ac ar leferydd llawer Cymro tra fyddo ei iaith yn fyw.

Nid ymddengys fod aflwyddiant ei awdl wedi peri llawer o ofid i'r bardd. Os gwnaed cam, gwyddai ei fod mewn cwmni anrhydeddus; os oedd yn y gystadleuaeth awdl ragorach na'r eiddo ef, yr oedd ganddo ormod o barch i gyfiawnder i rwgnach o herwydd ei dedfryd. Ond nid ymgeisiodd ar ol hyn am anrhydedd Eisteddfodol.

Nid Nicander oedd yr unig feirniad a gymharodd Ioan Madog i Pedr Fardd. Ac yr oedd llawer o debygrwydd rhyngddynt Yr oedd y ddau yn Eifionwyr; os oedd tad y naill yn llenor a phrydydd cymeradwy, felly hefyd yr oedd tad y llall; enillodd y ddau fachgen yn ieuanc feistrolaeth lwyr ar y gynghanedd; gallasai y ddau ddyweyd fel y dywedodd un o honynt—

"Nid oes faws na dwys fesur
O un baich i awen bur."

Yr oeddynt yn gyffelyb yn symledd ac eglurder eu llinellau, ond mewn nerth a newydd-deb, ac yn wir yn "nhri anhebgor awen," fel y gwelir yn hawdd wrth ddarllen eu prif

gyfansoddiadau, rhagorai Ioan Madog. Ond ni ddeil penillion yr olaf i'w cymharu âg emynau swynol a phoblogaidd Pedr Fardd. Cyfansoddodd Ioan Madog o dro i dro lawer o benillion, ond ni lwyddodd erioed i ragori yn y Rhydd-fesurau. Rhodiai ef yn fwy heinyf ac anadlai yn fwy rhydd yn ngwisg swyddogol y gynghanedd Gymreig.

Er mor hoff ydoedd o'r gynghanedd nid ymddengys fod ganddo serch gormodol at y "Pedwar mesur a'r hugain." Nid oes yn yr oll o'i waith dros bedwar neu bump o'r mesurau gwarantedig. Nid yw yn debyg iddo erioed gyfansoddi "Clogyrnach" na "Gorchest y Beirdd" a'u cyffelyb; nid am na allasai, ond amcanai ef yn benaf at naturioldeb ac eglurder, a gwyddai nas gellir

"Cloi synwyr mewn clysineb"

yn rheolau caethiwus y mesurau hyny. Yn ol ei farn ef dylid diddymu rhai o'r mesurau o herwydd eu gwrthuni.

Yn ei awydd i fod yn syml a naturiol byddai weithiau yn gollwng o'i ddwylaw linellau gweiniaid a diafael, ac nid yw ei brif gynyrchion yn lân oddiwrthynt. Mewn rhai darnau teimlir fod undonedd poenus. Ond pan oedd yn nghanol ei ddyddiau ystyrid ef yn mysg beirdd enwocaf y genedl. Pa beth fydd barn arosol darllenwyr ei gyfansoddiadau am dano, amser yr hwn "a brawf waith pawb" a ddatguddia. Magodd a meithrinodd Eifionydd awenyddion eangach eu gwybodaeth, mwy bywiog eu dychymyg, a chryfach eu hathrylith nag ef. Nis gallasai gyrhaedd arucheledd na nerth anwrthwynebol rhanau o awdlau "Elusengarwch" a "Dinystr Jerusalem." Ond mewn tynerwch a thlysni a naturioldeb—am linellau pert prydferth yn argraffu eu hunain yn annileadwy ar y côf—efallai na chydnabyddir yn holl hanes llenyddiaeth y Cymry nemawr un rhagorach na Ioan Madog.

Yr ydym wedi ymdrin ag ef yn hyn o Gofiant yn benaf fel bardd, am mai yn y cymeriad hwnw yr adwaenid ef gan y wlad, ac y cludir ei enw i'r cenhedlaethau a ddeuant. Gallem ddwyn tystiolaeth i'w garedigrwydd i'r ieuanc, i dynerwch ei galon, a'i gywirdeb fel cyfaill; ond nid oedd yn ei hanes ddim o ddyddordeb cyhoeddus yn annibynol ar ei gysylltiad â barddoniaeth Gymreig.

Bu farw o'r *Bronchitis* ar y 5ed o Fai, 1878, yn 66 mlwydd oed. Dilynodd tyrfa luosog a galarus ei weddillion i fynwent Ynyscynhaiarn lle y claddwyd ef yn

agos i borth yr Eglwys wrth fedd ei gyn-athraw a'i gyfaill ELLIS OWEN.

---

Cynygiwyd gwobr o £2 am Feddargraff i Ioan Madog, a barnodd Clwydfardd a Beuno (brawd Ioan Madog) y Toddaid canlynol o waith MR. JOHN THOMAS (Eifionydd), Caernarfon, yn oreu o 36 o gyfansoddiadau :—

"Deigron gofidiau geir yn gafodydd
Am farw ein IOAN ! Mor drwm fu'r newydd !
Un brofai'i hunan yn brif awenydd,
Nes cerfio'i enw'n mysg cewri Eifionydd :
Celfyddwr cyflawn, o ddawn gwyddonydd,—
I wir ogoniant Dyfais ro'i gynydd :
Tra urddas ar Farddas fydd—yn ein tir,
Ein gwlad a frithir â'i glodfawr weithydd."

---

# ADGOFION AM IOAN MADOG.

---

*At Gyhoeddwyr Gweithiau Barddonol y diweddar Ioan Madog.*

FONEDDIGION,

Da iawn genyf fi, (a chan laweroedd fel finau), oedd cael ar ddeall eich bod yn ymgymeryd a'r gorchwyl o ddodi ar "gof a chadw" weithiau y diweddar fardd rhagorwych Ioan Madog: y rhai a fyddant yn foglynau gemog ar fynwes llenyddiaeth Cymru, i'w chyfoethogi a'i phrydferthu o hyn allan.

Gwnaeth Eifionydd er dechreu y Ganrif hon fwy, a mwy o lawer hefyd nac a wnaeth un parthfan arall o'r Dywysogaeth, er dyrchafu a chyfoethogi llenyddiaeth Farddonol ein gwlad. Dyna Dewi Wyn o Eifion, R. Ab Gwilym Ddu; Pedr Fardd, yr hwn yntau oedd Eifionwr; Sion Wyn o Eifion; Ellis Owen, o Eifion; Eben Fardd, etto; Emrys etto,—ac yn ddiweddaf, Ioan Madog, oll yn feirdd —

"O'r un waed a'r awen wir"

a'r nifer fwyaf o honynt yn gyfryw na welodd Cymru hyd yma eu rhagorach, ac ni byddai iddi achos i gwyno pe na welai eu rhagorach mwy, os caiff rai hafal iddynt. Byddai "Beirdd Eifion yn y bedwaredd Ganrif ar bymtheg" yn destyn rhagorol i'n llenorion i ysgrifenu traethawd arno mewn cystadleuaeth pe gwelai pwyllgor un o'n Heisteddfodau yn dda gynyg gwobr deilwng i'r un a fernid yn oraf.

Ni raid i gynhyrchion awenyddol Ioan Madog wrth lythyrau canmoliaeth oddiwrth na bardd na llenor. Y mae pawb sydd yn gwybod dim am ansawdd a hanes barddoniaeth yn Nghymru yn adnabyddus o honynt eisoes i raddau, ac yn eu mawrhau. Cânt bellach, wedi y delont allan o'r wasg, fantais i wybod mwy a pho fwyaf a wybyddir am danynt mwyaf oll yr edmygir ac y gwerthfawrogir hwynt.

Llwydd i'ch anturiaeth.

Ydwyf, foneddigion, eich ufudd wasanaethydd,

*Caerlleon, Gorph. 29, 1880.* G. HIRAETHOG.

---

PERSONDY, LLANGWM, CORWEN, *Gorph. 27ain, 1880.*

GAREDIG SYR,

Y mae fy adgofion am Ioan Madog yn ychydig, a'u dyddiad yn mhell yn ol. Un o'r beirdd hoff a adwaenwn yn fy ieuengctid oedd, ond collais ei gymdeithas bersonol yn llwyr fwy nac ugain mlynedd yn ol. Erys ef yn fy nghôf fel un o'r trioedd a haner addolwn yn fy machgendod. Y ddau arall oedd yr anfarwol a nef-enein-

iedig awenyddion Emrys ac Eben Fardd. Lle y cyfarfyddai y tri hyn mewn cyfeillach farddonol rhwng 1849 ac 1854, dilynwn innau eu camrau fel edmygydd. Diau mai y mwyaf diddan, syml, ac agosaf at yr ieuangc o'r tri, oedd Ioan Madog. Yr oedd tawedigrwydd, a thuedd enciliedig Eben Fardd, ac fe allai grym arfer ei swydd, yn cadw pellder athraw a disgybl rhyngddo a'r ieuangc, fel rheol; yr oedd urddas personol, a moesgarwch boneddigaidd Emrys, drachefn, yn gosod gradd o bellder urddas rhyngddo yntau a'r ieuangc; ond yr oedd symledd gwledig, ac ireidd-dra chwareugar meddwl, Ioan Madog, yn dileu pob pellder rhyngddo ef a phawb. Ymdoddai i'r gymdeithas ddiddan a phur pa le bynag yr elai. Er y byddai yn fynych yn enaid yr ymddiddan, a ffynhonell y mwynhad, ymgollai pob peth personol ynddo, fel nad wyf yn cofio iddo fod yn saeth-nod cenfigen. Symledd a diymhongarwch oedd ei addurniadau uwchaf. Yr oedd yn foneddigaidd, yn llednais, yn goeth ei ymadrodd, ac yn gwreichioni o'r dalent farddonol, ac yn gyflawn feistr ar fydryddiaeth Gymraeg, ond ymddangosai yr oll fel doniau naturiol iddo, ac nid cynnyrch efrydiaeth, dysg, a diwylliaeth. Y tro cyntaf i mi ei gyfarfod ef oedd ar y ffordd i Eisteddfod Aberffraw yn 1849. Cefais yr hyfrydwch o deithio yn ei gwmni ef a'i frawd Beuno o Benygroes, Llanllyfni, i'r Aberffraw. Siaradai mewn cynghaneddion ar hyd y ffordd. Pan yn nesu at Aberffraw, ac oll yn flinedig, safodd i ofyn i amaethwr pa faint o ffordd oedd i Aberffraw. Gwedi derbyn yr atteb troes attom ninnau gan ddywedyd,

"Mae etto hir filldir faith
I'n i droedio o'n drudwaith."

Yn Aberffraw ennillodd ar gywydd "Amddiffyniad Gibraltar gan General ELIOT."

Cefais lawer o'i gymdeithas ar ol hyny ar y ffordd yn ol a blaen i Ruddlan, yn 1850, lle yr ennillodd ar "Gywydd Coffadwriaeth y DR. MORGAN." Gwelais lawer o hono drachefn wrth gyhoeddi Eisteddfod Porthmadog, ac yn yr Eisteddfod hono yn 1851, lle yr ennillodd ar "Gywydd Coffadwriaeth ROBERT AP GWILYM DDU." Gallwn dybio fod y Bardd Awengar ar y pryd yn ei lawn nerth a hoenusrwydd, a gallai fy mod innau yn yr adeg hono ar fywyd pan y derbynir argraphiadau yn rhwydd, ond pa beth bynag am hyny, bu i'r gymdeithas foreu hon ei anwyleiddio i'm holl serchiadau, ac ystyriaf ef yn un o'r dynion *puraf*, a *mwyaf caredig* a anadlodd erioed. Nid rhaid i'w farddoniaeth wrth ganmoliaeth. Y mae yn syml, yn goeth, yn dryloew, difyrus, chwareugar, a llon, fel ffrwd y mynydd dan heulwen haf.

Yr eiddoch yn gywir,
ELIS WYN O WYRFAI.

---

Cefais y fraint a'r hyfrydwch o ddyfod i gyfeillach ac adnabyddiaeth gyda Ioan Madog, er's yn agos i haner can mlynedd, sef yn y flwyddyn 1832. Cefais y cyfleusdra hwn pan yr oeddwn yn nhalas dedwydd, y diweddar JOHN WILLIAMS, Ysw., o'r T'wnt i'r bwlch, yn aros am ysbaid tair wythnos, o ffurfio cymdeithas gyda ei Dad ac yntau a'r teulu; yn gymaint a'u bod yn deulu awengar a galluofyddol. Yr oedd

y ddwy elfen yna yn hanfodol yn y tad, a'r meibion, a chan fy mod inau i ryw fesur, o dan ddylanwad yr un elfenau, hawdd iawn ydoedd ini lithro yn naturiol i gyfeillach â'n gilydd.

Parhaodd fy ymweliadau mynych a Phorthmadog yn nglyn a'm galwedigaeth am amryw flynyddoedd, a thrwy hyny cawsom gryn lawer o fanteision o sylweddoli yr hen wireb hono o eiddo Selyf "mai fel yr hoga haiarn haiarn, felly gwr wyneb ei gyfaill."

Yn y flwyddyn 1836 derbyniwyd Ioan Madog i gyfrinach Gorsedd Beirdd Ynys Brydain, mewn Gorsedd a gynhaliwyd ar fin Llyn Tegid, gan fy hybarch gyfaill, Gwalchmai a minau.

Cawsom brofion digonol ei fod yn deilwng o'r urddas oruchel hon, ei fod yn wir fab anian, ac yn wir fab awen, ac yn gyfaill mynwesol, pur, a diabsen, ac nid wyf yn petruso d'weyd, iddo yn ganlynol i hyny barhau i esgyn tua chopa mynydd *Parnasus*, nes iddo gyraedd y raddfa oruchel, o fod yn un o Brif feirdd mwyaf talentog ac athrylithgar ei oes, a phe buasai wedi gwneyd cyfiawnder a'i awen, a'i dalent fawreddog ar dir cystadleuol, drwy gystadlu am y Cadeiriau, nid wyf yn ameu am funud, na buasai ganddo gynifer o Gadeiriau a Hwfa Mon. Ond anhawdd iawn oedd cyffroi ei feddwl a'i awen i'r ymdrechfa anturiaethus, er galluoced ydoedd. Yr wyf yn cofio yn dda, pan yr oeddwn yn Nhremadog, yn y flwyddyn 1848, yn gosod yr Awrlais ar yr Eglwys, imi ei anog yn daer i ganu ar un o Destynau Eisteddfod Freiniol yr Aberffraw; sef "Cywydd ar ddiffyniad Gibraltar gan y Cadfridog Elliot;" y cefais lawer iawn o drafferth yn ei symbylu i addaw cyfansoddi ar y Testyn: ond yr oedd genyf y fath gred yn ei alluoedd, nes imi sicrhau iddo, y byddai yn sicr o'r wobr, ac felly y llwyddais iddo wneuthur yr anturiaeth; a chredwyf yn ddiysgog, na buasem yn feddianol ar y Cywydd gorchestol hwn, oni bai i mi ei symbylu am nosweithiau lawer, nes y gafaelodd ynddi o ddifrif, ac y cyflawnodd y gwaith gorchestol, yr ennillodd y wobr, ac yr ychwanegodd hyn at ei fri a'i urddas goruchel yn nghyfrif Beirdd, Llenorion ac Awengarwyr penaf ein gwlad: ac mae hyn yn destyn gorfoledd i minau, fy mod wedi bod yn achlysur o'i anog a'i symbylu i gynyrchu y Cywydd gor-gampus hwn er coffa gwroldeb Elliott yn amddiffyn Gibraltar.

Yr wyf yn falch o glywed fod gweithiau barddonol fy ngor-hoffus gyfaill ymadawedig yn y wasg, ac nid oes genyf yr amheuaeth leiaf na bydd eu derbynwyr yn dra lluosog o herwydd gwyr Cymru benbaladr am y diweddar Ioan Madog ei fod yn un o brif feirdd enwocaf ei oes.

Clwydfardd.

---

Yn Eisteddfod Genedlaethol Aberffraw, yn y flwyddyn 1849, y cefais yr hyfrydwch o weled Ioan Madog gyntaf. Yr oedd yn edrych yn gryf a heini y pryd hwnw, ac yn orlawn o arabedd farddonol. Y mae yn hysbys i luaws o'r beirdd i Talhaiarn golli yn ei ymgais am y Gadair yn yr Eisteddfod hono, ac iddo gael ei raddio yn lled isel yn yr ail ddosbarth gan Eben Fardd, un o'r beirniaid. Oherwydd y siomedigaeth hon, cythruddodd Talhaiarn yn aruthr; a phan ar y llwyfan yn areithio, ac yn adrodd darnau o'i Awdl, ymaflodd yn ei

chopi a rhwygodd ef yn ddarnau o flaen y dorf, ac yr oedd yr olwg arno fel dyn lloerig yn malu ewyn! Pan oedd Tal yn gwneyd hyn, dywedodd un o'r beirdd yn nglust Ioan,—

"Gwelwch Talhaiarn yn darnio—Yr Awdl,
Y mae rhyw ddiawl ynddo."

Ac ebai Ioan, mewn eiliad,—

"Hwdwch hiddygl! dewch iddo,
Dyna gamp y dyn o'i gô!"

Y tro cyntaf i mi ei weled ar ol hyn, oedd yn Eisteddfod Genedlaethol Rhuddlan, yn y flwyddyn 1850. Côf genyf fyned gydag ef, ac un neu ddau eraill o'r beirdd, i dafarndy bychan oedd ar ochr yr heol i gael gwydriad o gwrw, ac erbyn myned i mewn, pwy oedd yno ond "Wil Ysgeifiog" wedi meddwi, ac yn gorweddd ar wastad ei gefn o dan y bwrdd. Wrth ei weled yn y fath gyflwr, gofynodd Ioan iddo, er mwyn tynu rhyw ddylau ar ei awen,—

"Oes 'sgyfaint gan Wil 'Sgeifiog?"

"Oes," ebai Wil, mewn moment,—

"Ddwy gref, i grochfloeddio GROG."

Lle cyfarfyddais ef ar ol hyn, oedd yn nhŷ HUGH EVANS, Cyfrwywr, Llangefni, yr hwn ydoedd yn berthynas iddo. Yn y gyfeillach, gofynodd un o'r prydyddion i Ioan, wrth weled ei wallt yn troi ei liw—

"Pa le mae'th wallt, hir-wallt du—a'i hardd-deb?"

Ac mewn moment, ebai Ioan,—

"Hyd ochr y gwyneb mae'n dechreu gwynu."

Yn Eisteddfod Pwllheli yn y flwyddyn 1875, y cyfarfyddais ef ddiweddaf. Pan oedd ef a minau, yn aros i gychwyn i'r orymdaith, fore diwrnod y Gadair,—pwy oedd yn sefyll yr ochr arall i'r heol ond "Taliesin o Eifion," yr hwn oedd yn cario ei holl dlysau ar ei fynwes; ac yn yr olwg arno, dywedodd Ioan yn fy nghlust—

"Gwelwch chwydd fron, gawlfron gau,
Taliesin dan y tlysau."

Diau na bu yn Nghymru fardd mwy ffraeth-bert, a mwy naturiol ei gynghaneddion na Ioan Madog; ac y mae ei holl waith yn profi hyny. Y mae ei Englynion, ei Gywyddau, a'i Awdlau, fel colgolofnau o farmor gloew, yn cadw ei goffadwriaeth i fynu, ac edrychir arnynt gyda mawrhad, gan yr oesau a ddeuant. Teimlir yn chwith yn yr Eisteddfodau heb Ioan Madog, a galerir yn chwerw dost wrth feddwl ei fod yn ei fedd.

Hyawdl od mewn Awdl ydoedd,
Angel Nef am Englyn oedd.

*Llundain, Awst 4ydd, 1880.* HWFA MON.

# AWDLAU.

## Y GWAREDWR A'I DEYRNASIAD.

Iôr ro'i i Addaf arwyddion—o'i gariad
Yn ei gerydd tirion;
Awr ddifrif o brif brofion
Iddo a'i hil ydoedd hon.

Gwawr bur y Cyngor borau—a welid
Drwy niwl y cysgodau;
Duw o'i ras hyd yr oesau,—roi 'n gyson
Fyw addewidion, a rhyfeddodau.

Ond yn ei ŵydd dyn a aeth
I ddilyn gau addoliaeth;
Y berffaith Gyfraith ar g'oedd
Wrthodai,—nid gwerth ydoedd,—
I ffwrdd äi i'w ffordd ei hun
I addoli 'i dduw-eulun;
Ow! i Israel adael Iôn,
A'i ddewisawl dda weision;
Diystyrodd dosturi
Duw y gras wrandawai gri.

Pan oedd prif luoedd y wlad
Yn druain mewn dirywiad,

Y werin oll yr un wedd
Yn aros mewn anwiredd,
Tywyllwch dybryd, hollol,
Yno 'n cau yn mlaen ac ol,

A didawl draddodiadau—'r henafiaid
I'r nefoedd yn boenau;
A Seion wan dan dònau,
A'i llais a'i gwedd yn llesghau.

O'i lŷs hardd heibio'i haul a sêr,—heibio 'i
Wibiog lu'r uchelder,
Drwy fydoedd, luoedd lawer,
I'n byd ni daeth Mab Duw Nêr!

Ac o'r rhoddion têg er Addaf—a gaed
O law gu'r Goruchaf,
Ei Fab anwyl fu y benaf
Rodd hael, yn ol gwir ddelw Naf.

Ef erddom mewn nef-urddiant,—ddiosgodd
Wisg ei fawr ogoniant;
Ai o'i fodd mewn ufuddiant
I le blin ei anwyl blant.

Yn ei adeg dêg y daeth—yr Iesu
I risyn dynoliaeth;
Rhoi bri i'n natur ni wnaeth
Ei deilwng ymgnawdoliaeth.

O'n hachos ni chwysu wnaeth,—deuai'n waed
Yn ei ing anhydraeth;
Selyf y ne 'n sylfaen aeth
Dan waelod drwg dynoliaeth.

Pa oes a ddirnad y pwys oedd arno,
Loesau 'i gorff egwan dan feichiau dynol,
A grym ei ddolur garw, meddyliol
Yn ing y noson drom, anghynesol!
Ei enaid santaidd, unol—mewn ofnau,
A roes hyd angau yn ddarostyngol.

Hawdd ydoedd i'w Dduwdod—daro y byd
I'r bedd ag un dyrnod:—
Yn lle cledd, dyg wledd o glod,
I ddrysau'r ddaear isod.

O! fendigedig Geidwad,—efo dyn
Fe daniodd ei gariad
Nes dangos ei ostyngiad
I ddwyn Trefn maddeuant rhad.

Diferai mŷr hyd fawr a mân—o'i wedd
Bu'n wir nawdd i'r truan:—
Rhag ei ddir agwedd eirian,
Ffoai'r dieifl mewn cyffro i dân.

Bu 'n ngwyneb pob angenion,—heb un man
I'w ben myg am noson;
Drwy'i ras bu'n was i'w weision,—a gwleddoedd
Ei rad oludoedd ro 'i i dylodion.

Gwel ei effaith ar gloffion,—bu Dduw i'r
Byddariaid a'r deillion;
A'i law fu 'n dwrdiaw y dòn,
Adferai gysglyd feirwon.

Er Iddo wneyd arwyddion—daionus,
A dwyn gwyrthiau mawrion;
Gwawdio 'i fri, gwaedu ei fron,
Gai 'n y byd gan ahwydion.

Aflan fu i'w lân fywyd,—ei werthu
A'i wrthod yn wawdlyd,
Herio'i ddwyfol urdd hefyd,
A'i ffyrdd bàn,—cyffrôdd y byd.

O! yr a'mharch mawr yma,—a gofid
Gafodd y Messiah;
Am ddim aeth plant Abra'm dda
I ryfel â'r Jehofa.

Er i elyniaeth orlenwi—Satan,
Bob sut i'w wrthbrofi,
Cymerodd bob camwri
Yn llawen yn ein lle ni.

Ei berlawg eurawg goron—newidiai
Am wawd a chableddion;
Dewisai'r poenau dwysion,
Hoffai wel'd y waewffon.

O! wele dorf mewn poethlyd-wŷn—lluaws
Fel llewod i'w erbyn,
A Philat—ffei—ei elyn
Llawn o dwyll, yn llai na dyn.

Dyma ddigio'n Tad maddeugar,—a dal
Ei Fab doeth yn watwar;
Ond pwy ddeil ddwys bwys, a bâr
Dwrn Duw pan dery'n daear?

Ei swydd yn nwylaw Suddas—erch ei fryd,
Wnai'r archfradwr Judas;
Aeth ei gudd elyniaeth gâs
Yn ei enaid yn wynias.

Yn ystryw ei anonestrwydd,—a'i warth,
Am werthu ei Arglwydd
Ai 'n ddieflyn, dan ddu aflwydd,—a melldith
Ei hyfawr ragrith i fôr euogrwydd.

Ymryson am yr Iesu—yr oeddynt,
Gan warthruddo 'i allu;
Yna 'i ddwyn dan gollfarn ddu
Nes i Ion ei hun synu!

Eu bloeddiau, a'u cableddion,—oedd erwin,
Gan gynddaredd creulon;
Mellt aethus eu melldithion
A wibia fry heibio 'i fron.

Mynai Duw am hyn eu dëol—o'i dir
Dan lidiogrwydd dwyfol;
A bai o wŷrni barnol
Ar eu hâd byth ar eu hol.

Y diafol godai, ufelog ydoedd,
Yn orwych, lawen, anerchai 'i luoedd:—
"Heddyw dyryswn Addewid yr oesoedd,
"Ys cawn y rhyfel sydd er's canrifoedd.
"Ha! cyn tair noson y cawn y teyrnasoedd,
"A'r cenedlaethau, llwythau'r holl ieithoedd,
"Cawn y byd i gyd ar g'oedd,—cawn heb ffael
"Yn fuan afael ar nef y nefoedd."

I'w harweinydd hagr wyneb,—hyd angau
Hwy dyngent ffyddlondeb,
A'u meddwl am ddïal heb—byth ŵyro,
Na throi i ildio er pob cythreuldeb.

Ar ei fyddin rhyfeddai,—y gelyn,
Eu golwg ganmolai;

A'i gân oedd mor rwydd y gwnai
Droi y fantol drwy 'i fintai.

Ei udgorn seiniai, gollyngai'r llengoedd
Oll o'r diwaelod, dywyll ardaloedd;
Wrth agor bolltau dorau'r dyfnderoedd
I'w arfog gedyrn, mor fywiog ydoedd;
Ac ar feirch fflamiawg gynddeiriawg yroedd,
O berfedd annwn bwriai 'i fyddinoedd,
Yn llwon ei holl luoedd,—drwy'i dwyll hen
Ai heibio i Eden gan hèrio bydoedd.

Yn ei wylltineb melltenai,—heibio
I bob peth symudai;
A chaddug uffern chwyddai—'i gasineb,
Rhag ei arw wyneb y ddaear grynai.

Deuai'r mawr wyntoedd, draw y môr yntau
Ergydiai 'i anwar gynddeiriog dònau;
Gorlifai anian,—rhwygai'r elfenau,
A dig arwyddion yn gordoi 'u gruddiau,
Melltcochion, gwylltion yn gwau—'n frawychus
A swn truenus yn y taranau.

Dacw y miloedd hyd y cymylau
Oll am ennill yn chwifio 'u llumanau,
Llu ëon erfawr yn llawn o arfau,
O flin diriogaeth aflan y drygau;
Gyda'u rhyfedd gableddau—heb ofn neb
Ant draw i wyneb Tad y taranau.

Ond wele Iesu yn dal i'w wysiad,
A'r ergydion trymion ar bob tremiad;
Caru ei eiddo 'n fwy cu a'i roddiad
A wnai wrth farw yn nerth ei fwriad;

A chyfiawn drechai ei fwyn edrychiad
Gythreuliaid llidiog, tònog eu tyniad;
Yn mawredd ei gymeriad—rhoi'r dydd hwn
I arfau annwn fythol derfyniad.

Y byd mawr, blinfawr ei blâ,—holl allu 'r
Ellyllon a'u trahâ
Wynebodd, dygodd, er da,
Eu gwaethaf ar Golgotha.

Ni chiliodd yr archelyn
Heb ei dâl gan Fab y dyn.

Dynesu at dân ysol—ni feiddiai
Er ei fyddin nerthol;
Hwnt o'r ffau ei antur ffol
Oedd ynfydrwydd anfeidrol.

Yno ysigo ei sïol—a gafodd,
Yn gôf o'i gwymp uthrol,
A dianc yn andwyol,—a gwanach,
A'i le 'n boethach yn y llynclyn bythol.

Y Duw dirfawr, diderfyn,—bu ryfedd
Ei brofi gan adyn!
Un fu 'n llunio tafod dyn
Yn fud o flaen pryfedyn!

O! dacw Ef, a'i Dad cyfion—wedi ei
Adael i'r llofruddion;
Ac wele gwaedai calon
Y nef fry wrth wanu 'i fron.

Y nef a dduai yn anfoddhaol,
Wedy'n y nwyfre a daniai 'n wefrol,

A gwregysau yr hen greigiau oesol,
Yno yn tori yn annaturiol,
A Judea 'n andwyol—yn siglo
Nes ciliai meirwon o'u cysgle marwol.

O! dyma lèn hardd Deml Nêr
A hynod rwyg drwy 'i haner.

Er y llefain a'r llafur,—a'r ysgwyd
Fu ar esgyrn natur,
Iach ydoedd y pechadur
A'i deimlad e' mal y dur.

Dirmygu Iesu, a'i weision—a wna'r
Annuwiol yn ëon,
Er iddo gael ei roddion—yn dawel
A byw 'n ddiogel ar ben ei ddigon.

O! dy wlad—genedl lidiog—wedi dwyn
Bywyd y dieuog;
Diengai 'r haul,—Mab Duw 'nghrôg
Dan hoelion fel dyn halog!

Y dwyfol lid, a'i ofwy—wynebodd
Heb neb yn gynhorthwy,
I'w enaid trist fyned trwy
Afon Eden ofnadwy.

Heb un bai deuai drwy 'i daith—hyd eithaf
Melldithion y gyfraith,
A phwysau beiau pob iaith
Ar ei enaid ar unwaith.

Yn ei gorff anwyl agor ffynon—wnaeth
I wneud myrdd yn wynion;

Hedai 'r lleidr o'i drallodion
I'r hardd baradwys drwy hon.

I derfyn rhedai 'i arfaeth,—a rho 'i ben
Ar bob proffwydoliaeth;
Ysigai dywysogaeth
Angeu sŷn a'i ddurfing saeth.

Ei gorff heb ôl argraff y bedd—ddyrchai
Mewn ardderchog fawredd,
Ac ar ei iach, hawddgar wedd
Foreuliw anfarwoledd.

Rhoi 'i ddelw, a'i urddoliaeth—ar ei waith
Wnai 'n Nhrefn Iachawdwriaeth;
Yn ngwawl ei Gyfryngoliaeth
I'w aur lys i eiriol aeth.

Yn eu gwisg harddlân gosgorddlu—nefol oedd
O'i flaen yn cydganu;
Ni ddarfyddodd dydd rhyfeddu
Ei angeu loes gan engyl lu.

Chwyfiodd mewn goruchafiaeth—wèn faner
Ei fwynaidd lywodraeth;
Ffordd rydd o'r newydd a wnaeth
Yn nhaliad ei Iawn helaeth.

Yna daeth ei fendithion,—a'i allu
Drwy 'r holl apostolion
Hyd wledydd,—i dylodion
Fyw 'n ngwledd ei efengyl lon.

Duw roe ogoniant ar gynnydd—i'w Drefn
Drwy'r Ysbryd Glân beunydd;

O'r wyl* fawr ei leferydd—mewn mwyndra
A glywai Asia,—amlhai Eglwysydd.

Ha! dyma ryddid mawreddog—i gaeth,
A gwisg i'r noeth euog;
Arian llawn heb bryn na llôg
O fryniau 'r nef arianog.

Yn ei glwyfau i gleifion—y mae balm
O bob gwir gysuron;
Difyr waith hyfryd ei fron
Aileni ei elynion.

Dyry nerth, gwna'r dŵr yn wîn—i gynnal
Y gwanaf bererin;
Gwrendy o'r nef ar lef flin
Y dylaf ar ben deulin.

I'w weision pur, dewisol—dyry nerth
I drin eirf ysbrydol;
Gan rym ffydd gwna'r mwyaf ffôl
O'i fyddin yn rhyfeddol.

Hwyliai 'i ddwylaw eiddilion—i ryfel,
Myn brawf o'i orchestion,
Rhag llwfrhau gwellha 'i fron
Ag olew gras i'w galon.

Deil ei gledd â dwylaw glân,—fe rwyga
Frigog deyrnas Satan;
Tŷr bwys holl deirw Basan,
Dyry dwyll y byd ar dân.

*Gwyl y Pentecost.

Ar allu'r Graig a ddrylliwyd,—a'i i'r ffau,
A'r ffwrn boeth heb arswyd,
Mewn dwfr a thân ei gân gwyd
I'r Siloh a groeshoeliwyd.

Pob cur a dolur drwy 'r daith—a wellheir
Yn llaw 'r Meddyg perffaith;
Gwaed y groes a gwyd y graith,
Na welir moni eilwaith.

Derfydd twrf, cynhwrf pob câd,—a daw dydd
Dedwyddol orphwysiad;
O'i holl ing caiff ollyngiad
I wel'd Iôr, ei anwyl Dad.

Wedi'r holl frwydro o hyd,—i wyneb
Yr Iorddonen enbyd,
"Iddo Ef" am byth hefyd
Fydd y gân ryfedd i gyd.

Cof o arw angeu 'r Cyfryngwr,—yr Iawn
A roes y Gwaredwr;
Duw a dyn, y gwaed, y dŵr,
Ryfedda wir grefyddwr.

Prif addurn pob rhyfeddod—i Gerub
Fydd ei gariad hyglod;
Saint â'u mawl gânt fythawl fod
Yn ddedwydd yn ei Dduwdod.

I rai isel mewn mawr eisiau—dygodd
Degwch gras i'r golau;
Drws aur ei lawn drysorau
Egyr Ef gan drugarhau.

Ni flina Ef lawenhau—ei lu mawr
Mewn mil myrdd o lwybrau;
Yn rhwymyn hedd ceir mwynhau
Hyfrydwch ei fwriadau.

Hedd ddilyna ddylanwad—daionus
Ei dyner deyrnasiad,
A bywiog lwydd ymhob gwlad—fydd drwyddo
Yn mwyn flaguro mewn nefol gariad.

Ar feusydd daear foesawl—a'i mwyniant
Cesglir manna nefawl;
I'r Iesu mwy 'n ngwres y mawl
Hoenusa'r bryniau oesawl.

E ddyry'r coedydd irion—wir dyner
Dônau'n llawn o swynion;
Tardd lloniant drwy ddillynion
Gwanwyn tirf gogoniant Iôn.

Sïa mel-wefus aml afon—ei glod
Drwy'r glân ddolydd gwyrddion;
Ail loewi hen alawon—eglwysig
I'n Hiôr mawreddig wneir am ei roddion.

Yn merw'r tònau mawrion,—yn y trwm wynt,
A'r mellt fflamllyd, llymion,
Yn nhrwst taranau, yr Iôn—a folir,
A'i rym mawr welir drwy'r amrywiolion.

Gwirionedd gair ei enau—a darfa
Derfysg llywodraethau;
I'w law fàn ceir elfenau
Y nefoedd yn ufuddhau.

Dawn ei ras sy'n dwyn yr isaf—o'r llwch
I'r lle ardderchocaf;
Yn ddyn rhydd, newydd i'w Naf,
A'i enaid yn ddianaf.

Treiglo fydd trwy gelfyddyd—wybodaeth
O'i danbeidiol ysbryd,—
Drwy'r trydan fuan fywyd
Ei Air â'i bob rhan o'r byd.

Teyrnasoedd truenusawl—oleuir
Yn ei lewyrch nefawl;
Rhed afon cariad dwyfawl,
O fôr i fôr, yn fawr fawl.

Yr Iuddewon adre' ddeuant—a'u cred
Yn Iawn Crist a'i haeddiant,
A'r cenedloedd ar g'oedd gant
Haf-wleddoedd y milflwyddiant.

Deil cyhoeddiad am y Ceidwad,
A dylanwad ei lawenydd,
Yn dystiolaeth o'i ddwyfoliaeth,
A'i ddynoliaeth, hardd aneilydd.

Ond tŷn y byd hwn i ben—ei yrfa,
Derfydd oes yr heulwen;
Arwyddion uthr rydd y nen—y dydd hwnw
O'r dirfawr dwrw, drwy fôr a daearen.

Y deyrnas fawr gadarnaf—ysgydwir
I'w chysgodion pellaf;
Diddim yw'r bydoedd mwyaf
I yry 'n ol eiriau Naf.

Y Barnwr cyfiawn, uniawn ei enau,
Heddyw a welir mewn newydd olau,
Byw lywodraeth ei ddwyfol belydrau
A dreiddia i engyrth ddyfnderoedd angau,
Yn mawredd grym ei eiriau,—y gweryd
Allan a esyd weddillion oesau.

Er ei rym mawr, yr awrhon—rhy anhawdd
I frenin y meirwon
Fydd dal yn mherfedd y dòn
Ei filoedd mewn gafaelion.

Tỳr rhwymau 'r dyfroedd trymion,—a'r môr mawr
Murmurol o'i eigion
Fwria 'i aneirif feirwon
I'r munyd ar amnaid Iôn.

Iesu 'n holl urddas y nef—a'i osgordd
Ddisgyn o'r oleunef,
Daw 'r ddeu-lu gyda'r ddolef
I'r Farn oll ger ei fron Ef.

Rhed gofid y ddedfryd gyfion—drwy enaid
Byd yr anwir ddynion,
I'w suddo a'u troseddion
I dònog wae dan ŵg Iôn.

Yr annuwiol i'w garchar newydd—droir
Drwy warth a chywilydd;
A gair y Farn gywir fydd
Ar ei go' yn dragywydd.

Yn awr y lòn dyner lef—a eilw
Anwylion Crist adref,
Eu dydd o'r boen a'r dyoddef
Wawria 'n iach awyr y nef.

Yr Iesu 'i hunan yn nghlyw pêr seiniau
Gyrcha 'i saint anwyl goruwch sŵn tônau,
Y dorf waredol ddwg drwy 'i fwriadau
Yn dêr, gyfunwedd i'w lòn drigfanau,
A'i wledd bur a'i hedd i barhau—rydd Ef
Ar fwrdd y wiwnef fry i fyrddiynau.

Hwy oll heddyw 'n llu addas—arbenig
Dderbyniant y Deyrnas;
A'u gwedd, drwy ryfedd rad ras,—o'r newydd
Fydd fel y wawrddydd mewn nefol urddas.

Ar làn y pur lawenydd—cânt edrych—
Cânt adrodd eu tywydd,
A choffhau ymdrech eu ffydd—ddiffuant,
Trwy iesin fwyniant ar Seion fynydd.

Dirgeledig dreigliadau—olwynion
Rhagluniaeth a'i throiau
Welir oll yn eglurhau
Dybenion byd o boenau.

Cael difyrus roi clodforedd—o'u cur
Mewn cariad diddiwedd,
A thrafod mawrwaith rhyfedd
Iesu glân felysa 'u gwledd.

Dyma'r dydd y bydd pob iaith—yn y nef
Yn un teulu perffaith,
Na wel neb liw anobaith
Na dim mwy ond gwynfyd maith.

Adda ac Efa, dêg wedd—a synant
Mewn swynol orfoledd
Wel'd o'u hil mewn gwlad o hedd
Afrifol dyrfa ryfedd.

O! dyrfa fawr ddiderfyn—a chwery
Ei chywrain aurdelyn,
Nas gall y craff Seraff sŷn
A'i dalent gref ei dilyn.

Ar ddoniau 'r natur ddynawl—yr Iesu
A roes urddas bythawl,
I'w Hiôr mwyn pereidd-dra'u mawl—mor gynes
A swyna fynwes y nef awenawl.

O! mor glir yn mawrhau 'i glod—y byddant,
Nes boddi mewn syndod;
Nefoedd byth yno fydd bod—yn mwynhau
Ei ryfeddodau di rif a'i Dduwdod.

Drwy feusydd dirif oesau—goleuddydd
Gwleddant ar y ffrwythau;
A'u dedwydd fyfyrdodau
Hyd afon hedd yn dyfnhau.

'E ga 'r dedwydd Gredadyn—gydchwareu
Gyda Cherub claerwyn,
A rhodio 'n ddifyr wed'yn
Efo'r Brawd fu ar y bryn.

Rhodio 'n dêg ar edyn dydd—hyd fryniau 'r
Wlad freiniol ysblenydd,
A chân falch o'i enau fydd—yn oriel
Y rywiog awel i Dduw 'n dragywydd.

---

## GALLU A DAIONI DUW.

NOAH rodiai 'n waredol,—a'i deulu,
Uwch y dylif barnol,
A suddai 'r byd troseddol,—i'w gellau,
A chuddiai 'i dònau bob ymchwydd dynol.

Lot gynt, gai engyl têg wedd—i'w arwain,
O dir y gwastadedd;
I anwariaid anwiredd
Llaw Duw fu 'u gwneud tanllyd fedd.

A pha ŵr fel Pharaoh fu,
Trwy un oes yn teyrnasu?

Er iddo gael pob arwyddion,—yn ddidawl—
Rhyfeddodau mawrion,
Uwch llef yr Aipht, ei erchyll fron
A galedai i'w gwaelodion.

Yn ei wlad, plant anwyl Iôn—gaethiwai,
Ar wae crechwenai, er cri a chŵynion;
Trymhau eu beichiau 'n ddi baid,
Cryf ffrwyno 'r corph a'r enaid,—
A thramawr hir orthrymu,
O flaen barn fel hyn y bu:—

A'i ryfeddol, gref fyddin,—ar eu hol
Yrai 'r creulawn frenin;
Gyrai 'n erlidiog erwin,—
Tyrfai 'i wlad drwy 'i natur flin.

Ond troe 'i ofer hynt, ryfedd,
Yn chwerw siom, echrys wedd.

Yno llaw 'r Arglwydd mewn llid,
Yn ei faeddu ganfyddid,
Ei feirch, a'i agwrdd farchogion,
Hyrddid i gynddaredd y dòn;
Gwel'd Duw yn amlwg wgu,
A fferodd waed Pharaoh ddu;
Ei gamsyniad ofnadwy,
A wnai 'i ddûr galon yn ddwy,
A'i gyflwr euog, aflan,
Yn y dwfr âi 'n uffern dân.

Yma 'n awr am anwiredd—ei einioes,
Terfynai 'i holl fawredd;
Daw i farn o'i ddyfrllyd fedd,
Yn adyn duaf nodwedd.

Mewn pryd, i'r munyd, y môr—welid i'w
Waelod yn ymagor,
Nês i'r làn âi Israel Iôr
Yn ddiofal rhwng y ddeufôr.

Mor lòn yr oedd y mawr lu,—yn gôr llawn,
Ger y lle 'n molianu;
Yn yr adwy fawr, Duw a fu—'n hybys,
Yn ei ewyllys, a'i gadarn allu.

Y Duw fu 'n agor y dwfn eigion,—eto
All atal gelynion,
A rhoi du orweddle'r dòn,—aruthrawl,
Yn dir dewisawl dan draed ei weision.

Arafa 'r gwyntoedd cryfion,—a'u rhu mawr,
Diffodda'r mellt llymion,

A rhag ei fraw, ger ei fron—crŷn seiliau'r
Oesawl fynyddau, benau cribwynion.

Hawdd i'r Iôr droi'r môr, a'r tir maith,—yn un
Enynawl wyllt oddaith,
A chau dôr gwyddor pob gwaith,
Yn nhro anian ar unwaith.

Neu gall Naf yn ddigllawn hefyd,—rwygo
Gwregys yr eangfyd,
A chladdu beilch luoedd byd,
Pe mynai mewn pum munyd.

Yn lle hyn, pob llawenydd
Yn ei ras i ni a rydd;

Trwy ei gariad rhagorol,—rhoes ei Fab,
Dros fyd truenusol,
A dylanwad adlonol—ei ysbryd,
I wir adferyd yr edifeiriol.

Hedd a mawl ydoedd ei ymweliadau,
A'n daear isel, ar hyd yr oesau;
Mawl gwiw a rodder mewn amlwg raddau,
I Lyw rhagluniaeth, o lwyr galonau;
Yn ei Drefn dirion dyry fwynderau,
Hin dymherus, a ffrwythlawn dymorau,
Ac yn yr adeg, âg angenrheidiau
Hulia fwrdd anian hael, i fyrddiynau;
Er llu gorthrymus, a'r holl gerth rwymau,
Ef o'i hynawsedd a gofia 'n heisiau,
A ffola synwyr y dyn ffals enau,
A drino 'i roddion, drwy anwireddau;
Enfyn ddwysion rybuddion o'r beddau,
I'r annuwiol, sy'n arwain i waeau;

Try'r balch chwyddedig, a drig mewn drygau
Hyd wamal fywyd, i deimlo 'i feiau,
A thrwy geryddon, a thrugareddau,
Ei einioes doddir gan dân cystuddiau;
Daw'r cristion tawel o'r isel ddrysau,
Yn rhydd o'i flinion, dŷnion gadwynau;
Daw hoen ireiddiol i'w lwydion ruddiau,
A daw gorpheniad i gur a phoenau;
Drwy 'r hen Iorddonen Duw rydd ei wenau,
Wna i'w saint anwyl ganu 'n sŵn tònau;
Sail ei wir rasol eiriau,—trwy Grist sydd
Yn fyw lawenydd yma i filiynau.

Doeth erioed, a da 'i weithredoedd,—yw'r Iôn,
Goruwch yr holl nefoedd;
A'i fawl tragwyddawl, ar g'oedd—sy'n parhau
Ar fyw dafodau afrifed fydoedd.

Dirgeledig dreigliadau—rhagluniaeth
Iôr glân ddaw i'r golau;
I fewn o hyd ânt dan fwynhau,
I Dduwdod rhyfeddodau.

---

## GOLYGIAD AR Y DYDD MAWR DIWEDDAF.

WELE ym moreu galw y meirwon,
Y dua 'r haul a'i belydr hylon;
Ys aruthr egwyl syrth i'r eigion,
Y bywlawn odwymp dêr blanedion;

A'r eres sêr a roes Iôn—syrth i lawr,
Yn eirias hyfawr o'u gorsafion;
Dirgryna'r ddaear gan dduon—loesau,
O'i huthyr seiliau a'i throsolion.

O ddiwrnod! hynod enwi,—oriau barn—
Meirw byd yn adgodi;
Rhwyg i anian, oer gyni
Drwy y nef a'n daear ni.

O'u deddf, ac eu greddf griddfan—y bydoedd,
A'r bodau yn druan,
A gwyllt, gwâr daear drwy dân
Elfenawl o fyw anian.

Dydd diweddiad amser, rhediad,
A gollyngiad o gell angeu;
A dymchweliad byd o'i drefniad
Diadferiad; hynod foreu!

Ein daear lwysgu a'i da orlosgant,
A'i holl erf weithydd yn llwyr a fethant;
Mynyddoedd, brynoedd, mewn ewybr anian,
Trwy'r gwres ofnadwy o'u gorsaf neidiant;
A'i heres wythi ariant,—yn gyflym
A syrth i'r diddym; ys aruthr doddant!

Yn ffrwd ofnadwy, rhuadwy rhedant
I'r eigion erfawr; ei ddeifr gynhyrfant,
Ië, 'r holl foroedd a erchyll ferwant,
A hyd yr awyr yn ffroch dyruant;
Hynod droellau anian,—trwy'r nef uchod,
A'r ddaear isod a lwyr ddyrysant.

Ar fŷr egyr y mawrfôr eigion,
Ei grombil gwalw i fwrw ei feirwon:

Y ddaear hithau ddyry weithion,
I fyny ei meirw, fân a mawrion:
O udgorn nef rhed gair ein Iôn—yn glau,
O fewn eu dorau i'w dyfnderion.

Hen gloiau gweryd yn glau agorant,
A lluoedd hynod heb ball ddihunant;
Mewn daear isod mwy nid arosant;
Un naws a'u beddau byth mwy nis byddant,
I gyd mewn nerth adgodant,—yn dryfrith,
I dir diymrith ar d'rawiad amrant.

Wedi eu bod yn ngheudod bedd—oesau 'n
Gorphwysaw mewn llygredd;
Fry neidiant, feirwon odwedd,
Yn nydd Iôn mewn newydd wedd.

Myrdd, ïe, mil myrdd, mal y mân—raian,
Ddwyrea 'n chwai allan,
O wythi daear weithian,
Ger bron Duw byw, y Glyw glân.

Pan fo daear hygar drwy ei heigion,
Yn dal i grynu mal dail gorweinion;
O ddydd erfawr! a mynyddoedd Arfon,
Gywrain, hoffwlad 'n ymguraw 'n yfflon,
Gwelir mewn têg argoelion,—yn rhyfedd,
Pwy fedd wir sylwedd—pwy fydd rasolion.

Yr iawn weis ufudd yn y Farn safant,
Gwiw luon iach, ac a lawenychant;
Yn wir hoffusawl hwy a orphwysant,
Ar Graig yr oesoedd, drwy 'r Gŵr garasant;
Eu dilyth Briod welant—heddyw, 'n fflwch,
Yn ei lân harddwch, a'i gyflawn urddiant.

Diau gwŷr anwir y byd a grynant,
Ger y sywiawl Iesu groeshoeliasant;
I'w cuddiaw 'n dristion o ŵydd Iôn gwaeddant
Ar y mynyddoedd dirym eu noddiant;
Heb unrhyw achles lu eres galarant
Heddyw o'i blegid, ac iddo hwy blygant:
Hen gawri Eden gwridant,—mewn angar,
Eithr Duw ddynoetha'r gweithredoedd wnaethant.

Y dilwfr Ynad a dau lyfr union,
A wir ddynoetha bob rhywddyn weithion;
Pob drwg i'r golwg a ddwg Iôr gwiwlon,
A fu er Addaf, ŵr hyfawr roddion;
I'r goleu daw dirgelion—ysbrydoedd
A gorddu giloedd, a gwraidd y galon.

Yn awr y Barnydd cofydd, cyfion,
A ŷrr y naws-wyllt druenusion
I dywyllwch at anfad wyllion,
Hen lu ffyrnigawl uffern eigion:
Tàn lid Duw yn y wlad hon,—dirboenant,
A byth wylant, anobeithiolion.

Wele 'r Oen a eilw ei wâr anwylion,
Iddei nef wenwawr at Dduw Naf union;
A'r Iesu gwiwras a'r eursyw goron,
A'u hurdda yngolwg yr heirdd angylion;
Yn gôr fry byth ger ei fron,—ei foliant
A wiwdeg eiliant am waed ei galon!

Hoff hoewlu byddant gyffelyb iddo,
Yn berffaith lanwaith, a goleu yno;
A chânt fyth breswyl, ac anwyl uno,
Yn fwyn a'u Modur heb ofn ymado;
Iach o frêg, mewn gorwech fro,—lle bydd haul,
A'i dês gloyw, araul, byth yn dysgleirio.

## YR YSTORM.

DDOE 'n heulog ddydd anwylaf,—heddyw blwng
Dywydd blin erchyllaf;
Mae gwynebpryd hyfryd haf
Wedi newid yn auaf!

Mae'r môr a'i sŵn murmurawl,—o'i eigion,
A'i agwedd yn uthrawl;
Ei ruad dwys ŷrr y diawl
I grynu yn dra gerwinawl.

Curwynt, toredwynt rhuadwy,—ollwedd
Yn drylliaw yn aswy;
Trŵst rhyfel,—trist yr ofwy,—yn mhob gwlad,
Rhyw gyfnewidiad a rhwyg ofnadwy!

Rheieidr yn crôch ruaw drwy—hen elltydd,
Yn wyllt eu rhyferthwy;
Bâr a thrydar uthradwy,
Heb ei fath,—ni bu ei fwy.

Rhyw ing dwrwf yw'r ëangderau—maith,
Fal myrdd o daranau!
Gweryriad drwy 'r gororau,—hyd echrys
A gwrdd fànau dyrys gorddyfnderau.

Trwy grwn fyd daeargrynfäau,—yn ysgwyd
Esgyrn yn y beddau;
Bron na neidiai'r bryniau—megys dydd brawd
Anhafal ddiwrnawd, yn fil o ddarnau.

Haul a sêr o'u hwyl y sydd,—o'r golwg
 Ar giliaw 'n dragywydd;
Chwilfriwiaw 'n huchel fröydd,—a fu ar
Fôr a daear fwy o arw dywydd ?

Pa reswm ? a oes prysur—anhwyl yn
 Hen olwynion natur ?
Ys ! daear gain sydd drwy gur,
Gwedi 'i dal gyda dolur.

Taranau, a'u twrw hynawd,—tra eglur,
 Bron treiglo 'r bydysawd ;
Cau y nef—dychryn pob cnawd,
Dyrysu daear isawd.

Mellt draw'n wyllt am hollti'r nen,—gor-rythu
 Dofn grôth y ddaearen :
Dw'r obry, a du 'r wybren
I gyd,—ydyw 'r byd ar ben ?

Cilfachau gwanegau y gwyn eigion,
Dïau 'n agoryd yn dònau geirwon ;
Ac fal mynyddau a muriau mawrion,
Dyrchu o olwg, hyd yr uchelion :
Ar fôr a thir y fawrwaith hon,—dinystr—
A mawredd o ddinystr,—myrdd o ddynion.

Draw, llengoedd o gandryll longau,—sydd yn
 Soddi i'r dyfnderau ;
Ac eraill yn mhob cyrau
Ar led, fal gwybed, yn gwau.

Dacw nhw 'n safnau y tònau tŷnion,
Oll yn ymdrechu, mewn llawn ymdrechion ;
Weithiau ar frigau yr uthr fôr eigion,
A'u brig rhwygedig hyd fro Caergwydion ;

Wed'yn gan bwys dwys y dòn,—llwyr soddi
I dŷn galedi yn y gwaelodion!

Neud rhyfedd trugaredd gu,
O ganol barn yn gwenu.
Ein noddi ni heddyw wnaeth
Ein Iôr glân â'i ragluniaeth;
Er ein rhŵth fygwth â'i fâr,
Gwrandawodd gri ein daear.
Adferiad, dychweliad chwyrn,
Cadwodd y gwyntoedd cedyrn:
Mâd alwodd am dawelwch,
Drwy wiw drefn i'n daear drwch.
Ei lafar nerthawl hefyd,
Ai 'n rhyfedd drwy berfedd byd.
Ac ar air doeth Grëwr y dydd,
Mor dawel ai 'r mawr dywydd:
Y mellt gwrdd ymwylltiai gan
Od enyniad yn anian,
A'r daran ffrôch a'i chrôch rü
Ar funud yn rhoi 'i fynu.
A thonau 'r dyfnderau dig,
Oedd aflonydd fileinig,
Er eu twrf a'u rhüad heb
Drochioni gan drychineb,
Ufuddhau i ddeddf ei Hiôn,
Ar eiliad wnai 'r awelon.
Ymlusgiaid, nofiaid Neifion,
Mewn cyffraw 'n dawnsiaw 'n y dòn;
Llu 'r awyr oll i'w rhëawl
I'w Nêr am hyn yn rhoi mawl;
A gwyllt a gwâr daear dèn,
Yn eu lleoedd yn llawen.
Holl anian mewn llawenydd,
Er hynod syndod y sydd.

Ein Iôn i ddynion anhaeddiannawl,
Roes ymwared o dynged ingawl:
Tra chwai gallasai i goll oesawl,
Fwrw ein byd yn ei fâr enbydawl:
Ninnau byth yn anobeithiawl,—wedi
Ein dwyn i oesi i dân ysawl.

O'r nen y fellten folltawg,—a'r daran,
Drwy dwrw gwyllt cynddeiriawg,
Ddengys yn hysbys mewn hawg,
Allu llaw 'r Hollalluawg.

Ar un gair o'i enau i gyd,—hwnt nesant
Ynysoedd yr holl-fyd:
Dymchwelant i bant y byd,—a'i eiddo,
Yn llun y myno mewn llai na munyd.

I'w rëol fanol gwna E 'r elfenau,
Yn llawforwynion drwy 'i holl fawr ranau:
I drwch blaen nodwydd y derch blanedau,
O hyd a redant eu cylchdroadau;
Oll un modd yn llaw Iôn mau—cylch dröant,
Heb un dyrysiant i ben draw oesau.

A Duw rëola y dewr awelon,
Ac a ffrwyna gêg y ffyrnig eigion;
A phan orchymyna yna 'n union
Ar lef Iôn llama'r elfenau llymion;
Daear, nefoedd, dŵr Neifion,—a'u lluoedd
O hyd yn filoedd dan ei ofalon.

Ac i Nâf têg y nefoedd,—y perthyn
Porthi yr holl luoedd:
Beth, beth yw, fydd, dyn byth bythoedd—bryfyn,
Neu wael abwydyn, wrth Lyw y bydoedd?

# CYWYDDAU.

## DIFFYNIAD GIBRALTAR GAN GENERAL ELIOTT.

*(Buddugol yn Eisteddfod Aberffraw, 1849).*

O Frydain glod foredig!
Iach wlad fras uchel dy frig;
Pybyr ynys, pob rhinwedd,
Ddisigl rym o ddisglaer wedd;
Gem aur yn mysg y moroedd,
Dy enw fawrheir, geir ar g'oedd;
Ha! ynysig aneisawr
Yn mysg y teyrnasoedd mawr,
Nodedig hynod ydwyt
Yn wir, er mai bechan wyt;
A'th lywodraeth ddiledryw,
Mor dda a thêg,—mor ddoeth yw,
O'r dwyrain hyfryd araul,
I waelod tir machlud haul.

Dy barch ac uchder dy ben
A fagodd ddwfn genfigen;
Aml un yn dra mileinwedd
Fu 'n ceisio siglo dy sedd;

Ië,'r byd terfysglyd fu
Am danat yn ymdŷnu;
Miniwyd eirf, ac ymwnaed am
Ennill dy orsedd ddinam;
Galwyd, agorwyd gerwin
Gyngreiriau gan bleidiau blin;
Codai byddinoedd cedyrn,
Ac erch oedd eu hymgyrch chwyrn.

Ond er eu chwyrn ymdrech hwy,
Glew wyd ac ansigladwy,
Gorchfygaist deliaist dy dir
A'th glod toreithiawg ledir;
Dy âlon er dy elwch,
Ymgrymant, lyfant dy lwch:
Grym y byd a gryma 'i ben
Yn wylaidd i'th deyrnwïalen;
Y Duw bïa gadw bywyd
Yw'th fwyn nawdd o'th fewn o hyd.
Af ar daith hyfryd weithion,
Dïofn daith hyd fîn y dòn;
Cyfeiriaf, caf fy arwain,
Nes b'wyf ar Benryn Ysbain,
I frawdol ddifyr rodiaw
Trwy od dref Gibraltar draw;
Yn iach a rhydd uwch yr aig;
Ar aelgref aruthrolgraig,
Heb ofn cryfder, hyfder hoedd,
Llifeiriant yr holl foroedd,
Sy'n rhuthro heibio o hyd.
A'u dwfr rhwng dwy wlad hyfryd.

O hen Ddiffynfa hynod!
Diogel le, mawr yw dy glod;
Yma drwy ofnadwy nerth,
Ac ymwriad têg mawrwerth;

Enillai Brydain allwedd
Môr y Canoldir i'w medd;
Oddiar Yspaen ddyrus ei byd,
Ar lawn ddyddorawl enyd,
A'i baner annibynawl
A ledodd, hònodd ei hawl;
A'i hawl a roes siriawl wrid,
Ar ruddiau duwies rhyddid;
Agoryd yn hyfryd wnaeth,
Fynediad i drafnidiaeth;
Ac anogai gan agor
Helaethach masnach drwy'r môr.

Am hyn, rhwng dychryn a dig,
Teyrnasoedd truain ysig,
Gan wŷn cenfigen anwar,
Ymgasglent berwent mewn bâr,
A llid cyngreirwyr gerllaw,
Yn uwch oedd yn ymchwyddaw;
Ail enyn wnai'r elyniaeth,
Flin ei gwedd yn filiwn gwaeth;
O'r newydd ymgrynhöai
Enyn nes tanio a wnai;
A rhwygai 'r fflam wenfflam wyllt,
Yn nhir Yspaen yn orwyllt;
Wele anterth helyntion,
A brâd cyngreirwyr ger bron;
A meddwl am ddïal oedd
Yn llywiaw eu holl luoedd,
Mewn prif nerth am un prawf nôd
O'u dewrder a'u hawdurdod;
Mỳnu gwel'd dan rwymau 'n gaeth
Fwyn edyn ein Trafnidiaeth,
A chau y porth eorth oedd
Yn nôd i'n prif Farchnadoedd;

Adenill hon dan ei llŵ
Er ei mawl a'i thrwm elw,
Fŷnai y dorf yn ei dig
Dan ei nwyd enynedig;
Holl bigion gwŷr dewrion da,
Penaf arwyr Hispaenia,
Yn chwanawg a gychwynynt,
Yn filain gâd o flaen y gwynt,
Gan addaw gogoneddiad,
Têg lwydd iddynt hwy a'u gwlad.
Wele lèng mil o longau
O'i hamgylch wedi amgau;
Milain gau yn mlaen ac ol
A gweithiaw 'n dra bygythiol;
Codi gwarchgloddiau cedyrn
O amgylch ogylch yn chwyrn,
Nes oedd ein gwŷr yn suddo,
Gan dristwch, trwch ar y tro;
A'u holl obaith ymaith ai
Fel ewynyn diflanai;
Eu poeni wnaeth y 'Spaenwyr,
Llwfrhau y goreu o'n gwŷr;
Yn cynyg pob amcanion
I fŷnu hawl o'r fan hon;
Llawer ymgais ddyfais ddig
A lunient yn fileinig.

Pa arwr llawn campwri
Hoffai 'n awr ei diffyn hi?
Pa ŵr dan lŷs Prydain lon,
O'i haeddawl Gadlywyddion,
Ddaw i'r goleu 'n ddewrgalon,
I'r ddwys swydd fawreddus hon?

Wedi ymholi am hyn,
Arswydaw, aros wed'yn;

Wele Flaenawr mawr o'u mysg,
Rhyglyddawl ŵr goleuddysg;
Un âi 'n uwch ac uwch ar g'oedd
Trwy foliant ei ryfeloedd;
Gŵr o wasanaeth gorwych,
I'w wlad hoff, ein ELIOTT wych;
Balch oedd Brydain gain o'r gŵr,
Anhefelydd hen Filwr.

Pwy i'r prawf o'r campwyr prid
Addasach a ddewisid?
Un hyf dewr—a phwy 'n fwy doeth,
A mawreddau mor wiwddoeth?
I ddeall gwir ddull a gwedd
Peirianau—a phob rhinwedd,
Addas i urddas ei waith
I'w gludo drwy galedwaith,
Nodedig berchen didwyll
Gymedroldeb, purdeb pwyll;
A chryf arafwch, rhyfedd
I drin ei glaer gadarn gledd;
Y nôs ddwys ni orphwysai,
Ond myfyrio 'n effro wnai;
Yr oedd yn mhob lle yr aeth,
I'w wel'd ar wyliadwriaeth.

I'r hynt aeth ein Gwron têg,
Ar ddedwydd, ddedwydd adeg;
Aeth mewn hedd, pob peth mewn hwyl
A darpariad i'r perwyl;
'Rhyw adeg bwysfawr ydoedd,
A da iawn i Frydain oedd;
Fal hyn y rhagflaenai ef
Hir ddydd o ddirfawr ddioddef.

Ar ael y tir ELIOTT oedd
Efo 'i ddawnus fyddinoedd;
Wrth law dosbartha 'i luon
Yn eu trefn i'r antur hon;
A sylwai ar anwar ŵg
Y galon yn y golwg;
Eu holl waith, eu nerth a'u llwydd,
Ystyriai mewn distawrwydd.
Y gelyn hyf, dysgwyl wnaeth
I'w gael ef yn ysglyfaeth;
Balchïai, bostiai 'n ddi baid,
Er anog ei wroniaid;
Hoffai, mawrygai 'r egwyl,
Ai, erbyn hyn, bron o'i hwyl,
Gan danio, hèrio o hyd,
Yn hyfach, hyfach hefyd;
Yna annelai 'n Blaenawr
Ffroenau 'r cyflegrau i lawr;
Chwythai 'i gâd ar doriad dydd
Ergydion hir gawodydd,
Nes gyru yn wasgarol
Y gelyn i giliaw 'n ol;
Ac yn awr ei rwysgfawr rym
A doddai megis diddym,
A'i holl fawrwaith llafurus,
A wnaed o'i flaen i gyd fal ûs.

Wedi hyn, y gelyn gau
Yn y dyrys flinderau,
Giliai 'n ol i gasglu nerth
Am oedfa o ymadferth;
Chwiliodd, anfonodd am fwy
O wych nerth a chynorthwy;
Er rhoi un myg, gynyg gwych,
Trwy ymwriad tra mawrwych,

Mynai brawf eto mewn bri
O'i wymp eres gampwri.

Wele 'i anwar lu hynod
Ar hyd y dwfr wedi d'od;
A llongau 'n llawn arfau oedd
Ofnadwy,—cryf iawn ydoedd;
Llu Ffraingc a Spaen yma 'n awr
Yn un dorf, mewn gwŷn dirfawr;
Ac wele 'n awr ddigiliaw
Llüon dreng ar y làn draw;
Afrifawl dyrfa ryfedd,
Llidiawg wŷr tanllyd eu gwedd.

O! le perygl, Pa wron
Safai 'n awr dros y fan hon?
Pa ryw fron greulon heb gryd,
Safai yno dros funyd?
Ha, dacw ELIOTT, dêg galon,
Heb rus yn barod ger bron,
A'r ychydig warchawdwyr
Wrth ei law yn nerthawl wŷr:
Dych'mygaf wel'd chwim agwedd
Y ddwy gâd mor wrdd eu gwedd,
Ar foreu 'n dechreu 'n ddi dawl,
Ymosod yn rymusawl,
A'u golwg ar eu gilydd,
Mewn llid am enill y dydd.

Dyma 'r ddwygâd mor ddigoll,
I'w bwriad yn barod oll;
Dyna hwy 'n ergydio 'n wyllt,
Yn eu hagwedd ffyrnigwyllt;
O fyd tôst! yr arfau tân
Mor fwng yn gollwng allan

Bob aeliad y byw belau,
Fal y mellt yn cyflym wau;
Pa iaith ddarluniai 'r poethion
Beleni heb ri' ger bron,
Deflid mor danbaid hyflym,
O'r hen graig, mewn ffyrnig rym?
O! y sŵn ymrysonawg,
A mawr rwysg oedd yma rhawg!
Brwydro 'n ddi-ildio, gan ddal
O'r ddeutu mor ddiatal,
Y trymion fegnyl tramawr,
Yn eu llawn nerth oll yn awr;
Twrf enbyd drwy 'r boethlyd bau,
Ar unwaith fal taranau,
Nes siglai 'r graig, hirgraig hon,
Rhawg wedi rhoi ergydion;
Eu rhu 'n chwyrn ai ar un chwâ,
Hyd lysoedd Andalusia,
A'u mawr dwrf dros y môr dig,
Rhoi gyffraw—rhwygai Affrig.

Ys trymhau wnai 'r storm o hyd,
A chryfach yr âi hefyd;
Gelynion llymion yn llu,
Trwy ingoedd mawr yn trengu,
Gwaed dan eu traed yn y tro,
Mal afon yn trwm lifo;
A'r holl waed yn troi y llif
Eigionllawn yn goch genllif;
Llongau 'n clecian dan y dig
Ergydion yn rhwygedig;
Rhai eraill ar wàr y lli',
Heb yr un o'i hwylbreni,
Yn ysigaw nes agor,
Yn ddarnau fyrdd i'r hen fôr;

A'u taclau o'u rhwymau 'n rhydd,
I'w gweled draws eu gilydd.

O ! wres enbyd creision-boeth,
Ac arteithiau 'r pelau poeth !
Ac O ! Moreno* a'i rym,
Yn mrig aflwydd mor gyflym !
Llong ysig y Llyngesydd,
Oll ar dân, yn colli 'r dydd ;
Ar ol hon, eraill ar led,
Yn dangos yr un dynged ;
Chwap eilwaith lluchiai pylawr,
Brenau fil i'r wybren fawr ;
Llaw dinystr yn lledaenu
Erchylldod a difrod du,
A chyffro byw yn mhob man,
Nes synai mynwes anian ;
Er rhoi 'r peirianau ar waith,
I geisio huddo 'r oddaith,
Nid oedd ataliad iddo
Un gradd ar ei angerdd o ;
Ai yr eirias mor orwyllt,
Gan ferwi 'r llif,—genllif gwyllt !
Amhwyllai, fflamiai allan,—
Lledai ei ddychrynllyd dân ;
Y môr agwrdd ymrwygai,
Och ! i gyd mor guchiawg ai !
A chau a wnaeth entrych ne'
Gan niwl a mŵg anaele.

O ! 'r distryw mawr dwysdrwm oedd
Yma 'n toi y mynteioedd ;
Dyryswch du arosol
Yn y gâd, yn mlaen ac ol ;

* Spanish Admiral.

Pawb un ddrych, y gwych a'r gwan,
Yn nghanol angeu 'i hunan,
Yn rhoddi pob arwyddion
O 'r gwae a'r braw mawr ger bron,
Rhai 'n sŷn ar derfyn y daith,
A 'u gwaedd o ganol goddaith;
Ac eraill yn mhob cyrion
Yn llu 'n ymdagu 'n y dòn;
A chanoedd mewn trychineb
Yn trengu, na wybu neb;
Pob cyfyngder briwder bron
A lanwai y gelynion,
Wrth eu gweled, drymed dro,
Tro 'i ELIOTT draw i wylo;
O! aflwyddiant, siomiant sŷn,
Er galar a gai 'r gelyn;
Ië, daeth dinystr yn dô,
Am wroniaid MORENO;
Troes mantol buddugoliaeth,
Eto o du ELIOTT y daeth,
Gorchfygodd, trechodd eu trais
O amgylch, a'u holl ymgais.
Esponiai i'r Yspaenwyr,
Ar fŷr dro fawrhydri 'i wŷr;
Gwnai 'r cyngreirwyr, bleidwyr blwng,
I'w rymusder ymostwng;
Rho'es derfyniad ofnadwy
Ar eu bôst a'u hymffrost hwy.

Wele wychder, glewder glain,
Hen Gadfridawg da i Frydain;
Un gaed mor anghydmarawl,
O feddwl hŷf, ddaliai hawl,
Diffynai, daliai, fal dyn,
Ar yr iawnder, er undyn.

Safai 'n wych, nis ofnai wae,
Yn yr erchyll hir warchae;
Er iawn lwydd arweiniai 'i lu,
I'w uchel efelychu,
A'i drefniant o fwyniant fur
I'w wych edlym warchawdlu,—
Ei ofal dyfal a doeth,
A'i lywyddiad goleuddoeth,
A'i lewyrch ar ei luoedd,
Gorhoff, tuhwnt angraifft oedd,
Ar ei eres arwryd,
A'i synwyr bàn, synai 'r byd.

Wele bur haul y borau,
Heb un cwmwl gorddwl gau;
Pob siriolder gloywder glân,
Urddunawl ar wedd anian.
Newydd wedd heddyw a ddaeth,
I chwifiaw goruchafiaeth;
Gwên a mawl gan y miloedd,
Tra llon ar Gibraltar oedd;
A'u swynawl glod yn seinio,
Gan adsain drwy Frydain fro;
Doniau fyrdd ar dân o fawl,
I'r gwron tra rhagorawl.

Ar ei hyglod ddyfodiad,
Yn ol i'w lon, anwyl wlad,
Troi'r Senedd ffloywedd yn fflwch
I dalu ei dyiolwch;
Gwrid o serch gariadus oedd
Tra llawen trwy y lluoedd;
Pob serchóg, gwresog groesaw,
Heb ball oedd iddo bob llaw;
Pob mynwes oedd gynes gu
At ELLIOTT yn mhob teulu;

Ein gwlad oll, fal goleu dydd
A lanwyd o lawenydd.

Arbed y fàn, i'r byd fu
Yn achos llawenychu;
Yn awr ei Frenin erioes
Wobrwyai 'i rìn, bri a roes;
Dyrchai 'i was mewn urddas nod,
Yn Arglwydd Heathfield fawrglod,
Yn mrig y Bendefigaeth,
Am y gamp benigamp wnaeth.

Tra fo i wroniaid dêr fawl,
A'u henwau yn eneiniawl,
Saif hanes gynes ar g'oedd
Am ELIOTT goruwch miloedd,
Ië, deil ei barch dilyth
Hyd tra bo GIBRALTAR byth.

---

## COFFADWRIAETH AM Y DR. MORGAN,

### ESGOB LLANELWY, A CHYFIEITHYDD Y BIBL CYMREIG.

*(Buddugol yn Eisteddfod Rhuddlan, 1850).*

FY Ngwalia dêg! fy ngwlad iach,
Erioed ni fu 'th hyfrydach;
Dy lenyrch fu 'n adloni
Llygaid ein hynafiaid ni.
O! hoffaf ddedwyddaf dir,
Dy glod drwy 'r byd a gludir:
Er dy fri, oe'st ar dy fron,
Do, fagu pendefigion.

Bu it' feibion gwychion gynt,
Yn eu dydd hynod oeddynt.
Bro dêg! ar dy lwybrau di
Y rhodiodd gwir fawrhydi.
Daeth athroniaeth a rhinwedd
Yn achles i'th uchel sedd.
Rhodded Iôr ei wedd dirion,
Rhoed im' hwyl yr egwyl hon,
I ddwyn i gof ddoniau gŵr,
Ddetholedig ddoeth wladwr:
Y Doctor Gwilym Morgan,
Athraw ei oes, wnaeth ei ran
O les i'w gydgenedl, oedd
Yn mhellderau mallt diroedd;
Fe roes, er ei fythol fri,
Wasanaeth ei oes ini;
Gweini er mawr ogonedd
Ei Dduw a'i wlad oedd ei wledd.

Cyn i wawl y dwyfawl dân
Draw o wyll dòri allan,
Mor wael dan dramawr helynt,
Dan ei gwarth oedd Prydain gynt!
Pabyddiaeth gaeth, hagr ei gwedd,
A'i dwylaw 'n llawn dïaledd,
A hyf ddaliodd feddyliau
Ein gwlad oll dan galed iau.
Mal y sarph drwy ei haml swyn,
Ar gannoedd bwriai 'i gwenwyn,
Ac yna marweidd-dra hir
Fu ar hyd yr holl frodir;
A dawn y wlad fu dan lèn,
Bu nos hir heb un seren;
Ond drwy lâd Duw Iôr o'i lys
A wenai ar ein Hynys:

Fe ddygai 'r hyf ddiwygiwr
WYCLIFFE i'r byd, danllyd ŵr:
Un oedd ef fal seren ddydd,
Nodi wnai gyfnod newydd.
Yna TYNDAL ddyfal ddaeth
Yn adlwydd i'w genedlaeth.
A CHOVERDALE wych hefyd,
Ymröai i bwnc mawr y byd:
A rhoi a wnaent Air ein Iôn
Yn rasusawl i'r Saeson.

Ond nifwl hyd y nefoedd,
A mawr wyll dros Gymru oedd;
Ei meib a gaed yn mhob gwedd
Yn gwaelu 'n ddiymgeledd;
A chwaeth yr oes, anfoes oedd,
Ac yn is na'r cynoesoedd—
Nad oedd gan luoedd y wlad
At addysg un tueddiad;
Dilyn ffug chwedleuon ffôl,
Dan awydd hud annuwiol;
A magu dychymygion
Aml eu twyll wnai 'n mamwlad hon:
A mawrion, glewion ein gwlad,
Oeddynt heb un tueddiad
I roddi at unrhyw ddysg,
I gyrhaeddyd gwir addysg,
Gan adael y genedl hon
Yn ng'winedd llym angenion,
Heb yr un llyfr bron i'w llaw,
A thueddiad coeth iddaw:
Ein hanwyl iaith gynhenid,
Gan falchder llawer a'u llid,
A fu dan nych mynych maith,
Ar ddibyn bro ddiobaith,

Yn edwi mewn dinodedd,
Yn ddibarch ar radd y bedd.

Ond O! 'r hynod drueni!
Wele 'n awr ein cenedl ni
Mewn du wae mwy andwyol,
Yn filiwn gwaeth flaen ac ol;
Mor aethus resynus oedd
Yma i weled y miloedd,
Egwyl hir, heb gael i'w hiaith
Dêg gofrestr Duw a'i gyfraith;
Gair y bywyd o hyd oedd
Glöedig, a'i oludoedd
Megys ffynnawn lawn o les,
A meini 'n cuddio 'i mynwes;
Neu fel haul o nefol wên
Yn ol tuhwnt i'r niwlen,
Na allai 'r Cymry 'n hollawl
Wel'd yr un pelydr o wawl,
A phob cŵr mewn cyflwr caeth
Enbydus anwybodaeth.

Ond am ein gwlad, mewn gwael wedd,
Hedai sôn hyd y Senedd,
Nes i'w henaid resynu
Uwch y dwfn dywyllwch du.
Hynaws fu 'r Frenhines fâd,
Iaith amlwg roes i'w theimlad,
A gwnai bob rhyw egnïon
I erlid twyll o'r wlad hon,
Trwy fŷnu lles, trefn a llwydd,
A llyfrau, 'n lle gwyll afrwydd;
A bu i Salsbri 'n llawn sêl
Dros ei gydwladwyr isel;
Lafurio'n hael ei fwriad,
Gan geisio goleuo'i wlad:

O hono' i hun fe wnai ef
Ei ran dros air y wiwnef.

MORGAN ddoeth, ŵr mawr gan Dduw,
Hardd gerddwr ffordd y Gwir-Dduw,
Ti yw y gŵr teg o wedd,
O ganol llwythau Gwynedd,
Ddewisai dy Dduw osawd,
Er dy lwydd, dros Gymru dlawd,
I'r gwaith o faith gyfieithu
Y Bibl llawn i bawb o'i llu.

Rhagluniaeth Iôr, glân a thêg,
Erioed a ŵyr ei hadeg:
Gwyliawg oedd a'i golwg ar
Le dinod o wlad anwar,
I gwnu er gogoniant,
Wr o nerth, o Ewybr Nant,
I ddwyn ei MORGAN ryw ddydd
O'r lle hwn er llawenydd,
I gynnal pwys Eglwys Iôn,
Yn y dyrys flinderion;
Megys Moses gynes gân,
Lywiai 'i genedl i Ganaan,
Ac a roed i'w gwaredu
Mewn amser o'r dyfnder du;
Ac yn hyf, yn gryf mewn gras,
Yn lew o nerth Elias;
Dyn i'w wlad, yn hael ei wedd,
I'w hadferyd i fawredd.

Ti, Ewybr Nant, bri yn wir
Fyth gefaist, mwy fe 'th gofir;
Ce'st fagu i Gymru gain
Gywir ŵr i'w gwir arwain;
O'i herwydd ef cai hir ddal
Dyddordeb, ddedwydd ardal:

Hen le! mae 'n dda gan luon
Roi difyr hynt ar dy fron;
A sôn am y gwron gwych
O fewn dy gaerau 'n fynych.
Mwynder hoff yw myn'd i'r hen
Fynyddig drigfan addien,
I wel'd y man y ganed
Araul ŵr mae 'i fawl ar led,
A chael mewn mwynwych helynt
Wel'd llwybrau ei gamrau gynt;
Hen drigle Awdwr hyglod,
Er ei fwyn caffed hir fod.

Am egwyl dychymygaf
Ei weled dan nodded Naf,
Yn iach gynnar fachgenyn,
A'i braidd hyd y llwybrau hyn;
Ac yna y bu ganwaith
Ar ael y fron siriol fraith,
Fal Dafydd, fugeilydd gynt,
Yn hwylus yn ei helynt,
Wrth arwain yn gain ar g'oedd
Y dillyn ddiadelloedd;
A chynes serch yn y swydd,
Yn oedran diniweidrwydd.
Llawer munyd hyfryd iawn
A dreuliai ef yn drylawn,
Gan arfer ei gynhyrfiol
Orwech ddawn goruwch y ddôl:
Dadganai, areithiai 'n rhydd
Yn ei ieuanc lawn awydd;
A'i farddol, fugeiliol gân,
Fwyn swynai fynwes anian;
Troi hefyd at yr afon,
A chydrodio hefo hon

Wnai ef yn ei gartref gwych,
Er mwyniant, yn dra mynych:
Ymfawrhau mewn myfyr rhydd
Hyd ei glân goediog lènydd,
A chôr mwyn y llwyn gerllaw
Yn grasol seinio 'i groesaw.
Boreu gwanwyn brig einioes,
Dilynai fyd o lân foes,
Fel y dewis flodeuyn,
A'i arogl iach ar y glŷn;
Aiddgar oedd i gyrhaeddyd
Gwybodaeth helaeth o hyd;
A'i wawl boreuawl heb rus
Gynnyddai 'n ogoneddus;
A threfn Rhagluniaeth yr Iôr
Ddi ŵg wnai iddo agor
Holl ddorau dyfnderau dysg,
Gwreiddiai ef mewn gwir addysg,
Nes cyrhaedd y ddysg orau
A fedd ein prif athrofäu.
Yn Nghaergrawnt, dringai 'r gŵr hwn
Am olud dysg, uwch miliwn;
A chalon hyf chwilio wnaeth
Holl neuaddau llenyddiaeth;
Yno 'n myfyrio o'i fodd,
At wraidd pob iaith y treiddiodd:
Y *Galdaeg* a'i golud oedd
Yn llaw ei fawr alluoedd;
Gwelai drefn yr hyglod *Ryw*,
A llwybrau 'r dywell *Ebryw*;
Rhin y dêg *Ladin* ddadglodd,
A'r *Syriaeg* a drysorodd.
Parotoi 'r oedd Duw 'r pryd hyn
Ei hoff ŵr yn offeryn
I wneyd y gwaith hynodawl
Oedd iddo 'n fudd—i Dduw 'n fawl,

Wedi hyn, er dywenydd,
A pharch i Awdwr ei ffydd,
Rhoddai arwydd hardd eirioes
O'i ffydd gref—hoffodd y Groes;
A safai i'r Eglwys fâd
Oll yn hardd mewn llawn urddiad,
Dan eneiniad union af
O brïod nerth Ysbryd Naf.
Llafurio 'n effro a wnaeth
Yn ei dêg weinidogaeth,
Gan ddechreu dwyn goleu gwych
I mewn i Drallwm anwych;
A chadr yn Llanrhaiadr rhoes
O'i brif fawredd brawf eirioes;
Yno yn nerth doniau Naf
Y gwnaeth ei egni eithaf;
Ei fawrwaith mwyaf eres
A fu i'w wlad yn brif les,
A'i rîn yn Llanfyllin fu
Yn llâd iawn yn lledaenu,
Byw i'w Iôn, achub enaid
Oedd ei bwnc byth yn ddi baid.

Er gwrthsafiad anfad wŷr
Hudoledig gydwladwyr,
A chyffroi ffol blwyfolion,
Gariai frath i'w gywir fron,
I'r maes aeth mewn grym a sêl
At yr achos tra uchel,
A pharhau 'n effro o hyd
Y bu am Air y Bywyd
I ran y Cymro uniaith,
Bu 'n ymdrechgar gyda'r gwaith;
A hygar fu gwŷr o fawl
I'w noddi ef yn haeddawl.

Wele 'n awr yn gyflawn oll
Ei dêg gyfieithiad digoll,
Ac ef yn *gyntaf* hefyd
Dro'i 'r ddwyfol gyfrol i gyd
O'r wreiddiol ddyeithrol iaith
Yma i'r hen Omeriaith.
Buan y daeth bendithion
Hynod drwy yr antur hon;
Dydd eres a dyddorawl
Ydoedd hwn, â dedwydd wawl;
Dydd llewyrch dyddiau llawen,
Goleu Haul uwch Gwalia hên.
Dedwydd gyfnewidiadau
Yn mhlith y llu fu 'n amlhau;
Gair ein Duw gai wrandawiad
Mewn rhyfedd, rhyfedd fawrhâd;
Tân y Gair tywynawg oedd
Yn cynneu 'n mynwes cannoedd;
A dygodd rym diwygiad,
Gan lenwi Eglwysi 'n gwlad.
A llaw Duw yn neillduol
Wedi hyn fu 'n gwneud ei hol;
'E fu hon yn adfywhâd
O rew yr oer ddirywiad,
Er agor maes i'r Gair mwy
I dd'od yn gyrhaeddadwy;
A chan agor chwanegu
Bendith at fendith a fu,
I'r tylodion gwaelion gael
Y fath gyfoeth i'w gafael—
Trysor mâd anmhrisiadwy,
Yn eu plith, pa fendith fwy?

Y gwyll a'i erchyll orchudd,
Fu 'n parhau yn annhrefn prudd,

Giliai i'r goleu eirian
Lewyrchu i Gymru 'n gàn,
Fal yr heulwen ysblenydd,
Llawn o dân, yn llunio dydd,
Nes yw 'n awr yn ein hoes ni
Mor lawn o'r mawr oleuni:
A chedyrn ymdrechiadau
Pur o hyd sydd yn parhau,
I Air Duw a'i hyfryd wawl
Daenu yn gyffredinawl,
At alwadau tylodion
Yn mhob gwlad, drwy rad yr Ion.

O! gymwynas urddasol,
Ni fydd ei heilydd o'i hol;
Gwir waith o fri gwerthfawr oedd,
Er llesiant i'r holl oesoedd:
Am ei enwog gymwynas,
A'i lafur o haelfawr ras,
Buan rhoed pob anrhydedd
I urddo 'n gwron teg wedd;
A'r hen enwog Frenhines,
Dan fâd ddylanwad ei les,
A'i air da, yn hwyr ei dydd,
A godai 'n prif ddysgawdydd
I'r Esgobol, swyddol sedd,
I goroni gwir rinwedd;
Am hyn trwy bob man y trig
Ei chlod yn ucheledig.
Wele ddoniol dduwinydd,
Heb drais, o gydwybod rydd,
A theilwng fu 'i etholiaeth
Am yr hyn i Gymru wnaeth;
Llanwai ei swydd yn llawn sêl
Yn achos yr Iôn uchel:

Ond mil mwy o wobrwy'n wir
Gai i'w gydwybod gywir,
Yma iddo ddwyn moddion,
Drwy law yr Anfeidrol Iôn,
At agoryd teg eirioes
Ffordd rydd i grefydd y groes.

Bu'n Esgob uchel obaith
Yn llaw Duw drwy ei holl daith:
Yn Llandaff ei argraff oedd,
Er ei foliant, ar filoedd;
A bu yn ddrych gwych o'r gwaith
Yn Llanelwy'n llawn eilwaith;
Rhoddai enwog urdduniant
Ar y swydd, orddysglaer sant:
Dyn i'w wlad anwyl ydoedd,
Angel yr efengyl oedd,
Ddygai i'w fro gaddugawl
Allwedd i gudd gelloedd gwawl.

Ond er hyn, ein Hawdwr aeth
I'r gweryd diragoriaeth!
Ti, dawel Fynwent Elwy,
O dy fewn ni roed ei fwy.
MORGAN wych! ŵr haelwych rhydd,
Aneisor gymwynasydd,
Gresyndod ddarfod dy ddydd
Ar ganol dy fawr gynnydd!
Ac ow! na roesai Gwynedd,
Er dy fwyn, faen ar dy fedd!
Ac ow! na chefaist ti gan
Dy anwyl fro dy hunan
Un gyfeiriol gofarwydd
O'th farwol le, a'th fawr lwydd!
Ond dy faith fawrwaith a fydd
Ar dy ol, ŵr dieilydd:

Ti gyfodaist gofadail
Dy hun, na syfla ei sail:
A thra bo'r iaith a'r Brython
Oll i fawrhau Llyfr eu Hiôn,
Dy gofion, wron araul,
A fydd hoff tra fyddo haul.

O! yr hyf angau rhyfedd!
Dy law byth sy'n dal y bedd!
Pwy sydd yn gwybod pa sawl
Mawreddog Gymro haeddawl
Ddiosgaist, gan ei ddisgyn
Dan glo cadwynau y glyn!
Ond daw adeg dattodir
Holl gloion dyfnion dy dir;
A daw MORGAN lân o lwch
Y gweryd mewn hawddgarwch,
Efo'r dorf hyfryd erfawr,
A'i ddwyfol wedd fel y wawr;
A'i fawl yn rhyfeddawl fydd
Yn y lan drigfan lonydd,
I'w fendigedig Geidwad
Am ddwyn trefn maddeuant rhad.

---

## COFFADWRIAETH AM ROBERT AB GWILYM DDU O EIFION.

*(Buddugol yn Eisteddfod Madog, 1851).*

A MI gan gyni yn gaeth,
Rhyw foreu, 'n fawr fy hiraeth,
Symudais, megis meudwy,
Fa'i 'n gul ei wedd, dan ddwfn glwy;
Esgynais, gan ddwys gwyno,
I iach fryn, goruwch y fro;

O swn y byd camsyniol,
A'i flinion drafferthion ffol;
Yno'r haul dywynai'n rhydd
Ar fynwes tir Eifionydd;
Adar cerdd yn cyd roi cân,
A gwyneb serchog anian,
A'i theg wên a'i chyfoeth gwych,
Dan ei hurddiant, yn harddwych;
A'i chwiwiawl ysgeifn chwäon
Yn chwarau ar frigau'r fron.—
Ond er yr olwg dirion,
A chathlau y lleisiau llon,
Tremiai hiraeth trwm, marwol,
Y dydd hwn, i'r dyddiau'n ol;
Eifion deg, er dy fwyn di,
Yr wylwn ddagrau heli;
Brodir iach lle bu hir drig
Ein hen dadau nodedig;
Dillynaf gwmwd llonydd
Fu'n Athen yr awen rydd;
Ond yn awr newid a wnaeth,
Yr olwg er mawr alaeth;
Am dy feirdd, trwm yw dy fyd,
Diweddodd dy ddedwyddyd;
Dy Ddewi bur ydoedd ben,
A bri holl feib yr awen,
Roed yn gaeth, yn awr, dan gel
Yn y du fedd yn dawel;
Arwron, ddawn eryrawl,
Ai fry i gudd fro y gwawl,
Ac a'i rywiog oroian,
Awdur dewr, rhoi'r byd ar dân:
Ei ddawn ddihysbydd, enwyllt,
Hydrawg oedd fal rhaiadr gwyllt,
Neu daran ffroch, a'i chroch ru,
Yn erfawr ymgynhyrfu.

A PHEDR FARDD, hoff awdwr fu,
Yn ogoniant i 'th ganu;
Er ei enwog, fawr rinwedd,
Dirym yw, daear a'i medd;
Gwr feddiannodd gryf ddoniau
Yr awen wir i'w hiawn wau;
A thêr fardd ysgrythyrol,
Cywir fu—caraf ei ol.
O! fy unig Eifionydd,
Saeth ar ol saeth, iti sydd,
Dy ROBERT, awdwr hybarch,
Oedd uwch law beirdd, uchel barch,
Yr hynaf fardd, drwy Wynedd,
A'i ddawn fwyn, sydd yn ei fedd,
Adsain per ei dyner dôn
Angelaidd swynai 'ngalon.

Cyn i gyf-ddydd ei ddydd o,
O'r dwyrain hyfryd wawrio,
Nid oedd fawr o ddedwydd feirdd,
Yn gryfion o'n goreufeirdd,—
Agorwyd teg wawriad dydd
O fwyniant i Eifionydd;
A rhin y glaer awen glws,
Heb atal, âi i'r Betws,
A'i hurddas, hardd dduwies hen,
Arweddai'n hawdwr addien;
Ei heneiniad, drwy fad fodd,
Ar ei ben a dderbyniodd;
A delw ac ysbrydoliaeth,
A rhinwedd hon arno ddaeth;
A thân ei dawn, raslawn rodd,
Yn ei enaid enynodd
Yna, 'n nghychwynfa 'i wych oes,
Hyd wanwyn hyfryd einioes,

Ei dyner, frwd awenydd,
A'i gwrid iach fal gwawr y dydd,
Foreu a hwyr, fu'n ymfawrhau;
Addurn oedd i'w rinweddau.
Ofer a fu i'w riaint
Geisio difrio 'i fraint,
A rhoi atalfa, 'n mhob rhith,
Ar oleu ei athrylith;
A bwrw ei ddawn beraidd o,
A'i chyngan i lwch ango':
Ai ym mlaen, gan ymlenwi
A phleser i'w harfer hi,
Yn ei ddysg ar gynydd aeth,
Trwy gyrhaedd at ragoriaeth;
A dygai 'i gân deg ei gwedd,
Brawf eirian, o brif fawredd;
Yna 'n ddyn, talddyn cryf teg,
Newidiai yn ei adeg;
A'i delaid lygaid dulas
Yn dwyn gwir ôl dawn a gras;
A gwedd yn dwyn delw a gwawl
O fawredd syn myfyriawl.—

Ei weled dybiaf, eilwaith,
Yn rhodio, myfyrio 'n faith,
Yn dilyn hyd lanau iach,
A difyr afon Dwyfach,
A'i rhydd a glwys ddyfroedd glân
Ar rywiog wely o raian,
A'i pharhaus si 'n cyffroi 'i serch,
Hyd lenydd hyfryd lanerch;
Prydyddwyr per, a dyddan,
Y llwyni coed, yn llawn cân;
A'r rywiog, dyner awel
Yn dwyn eu mwyn dônau mel,

Anian lawn, a'i hunol lu,
Megis yn ymgusanu—
Fal hyn, bu'n dilyn ei daith,
Yn gynes yno, gànwaith—
A'i le siriawl fal Saron
A swynai 'i lwys awen lon.

Ffrwyth ei ddawn, drylawn ei drych,
A anfonai, yn fynych,
I'r Seren *(a)*—a'i thrysorau
Gai'r byd eu hyfryd fwynhau;
A thân ei goeth awenydd
Yn aros yn eirias sydd—
A diwyd fu, uwch llu 'n llawn,
Yn treulio blwyddi trylawn,
Yn llon amaethon, llawn mawl,
Yn ei dyddyn dedwyddawl,
Yn byw'n gu, heb unrhyw aeth,
Yn ei deulu dialaeth;
A gwên Rhagluniaeth a'i gwawl
Oedd arno yn addurnawl.
Yr oedd gwledd trugaredd gu,
A chân yn ei gylchynu:
A chyrchu wnai llu yn llon
Ar ofwy i fro Eifion,
Yn fynych, i edrych am
Y doniol fydrydd dinam;
Mor iach, yn cyfeillachu,
Fyddai ef a DAFYDD DDU;
Dau ddyddan, dedwydd oeddynt
Yn nyddiau eu gwyliau gynt;
Yn trin y iaith, trwy iawn wedd,
A thrafod ei nerth rhyfedd;

*(a)* Seren Gomer.

A thrin gwaith yr enwog wyr
Profedig, a'n prif awdwyr,
A gwres cynes eu canu
I'r wlad, yn adfywiad fu.

Ha! brif ŵr, bu, er ei fawl,
A'i ddywenydd barddonawl,
Yn arwain awen eirioes
DEWI WYN ym mlodau'i oes,
Dau gymydog yno, gynt,
Mor ddyddan, uwch myrdd oeddynt;
A PHEDR FARDD hyfedr hefyd,
Yn nechreu ei foreu fyd,
Hoffai rym ei awen ffraeth,
A rhinwedd ei hathroniaeth;
GWYNDAF *(b)* a CHAWRDAF, *(c)* wych ŵr,
A PHERIS, *(d)* dreiddgraff arwr.
IONAWR, *(e)* danllyd awenydd,
A SION LL'YN *(f)* ddichlyn ei ddydd,
Ac IEUAN *(g)* deg a HYWEL, *(h)*
A'r tyner SANDERS *(i)* lawn sêl
Oll oeddynt gyfeill iddo,
Yn nwfn serch ei fynwes o,
A haeddol awdwyr heddyw
A llu o heirdd feirdd sy'n fyw,
Hoffent hen Seraff ein tir,
A'i glod ef ganddynt gludir.

Ei briod, hyglod ei hoes,
Ddyddanai ddydd ei einioes,
Ac er lles, agorai 'i llaw,
I roi grasol wir groesaw,
Drwy siriol, hyfrydol fryd,
I bawb yno bob enyd;

*b* Gwyndaf Eryri. *c* Gwilym Cawrdaf. *d* Gutyn Peris. *e* Dafydd Ionawr. *f* Sion Lleyn. *g* Ieuan Lleyn. *h* Hywel Eryri. *i* Dafydd Sanders.

Ni rodd bro, o'i gwraidd i'w brig,
Wraig, erioed, mor garedig,
Ac mor hoff o Gymru hen,
A'i hyawdl iaith a'i hawen.

Och! Chwith yw cyrchu, weithian,
At ei dŷ a deutu 'i dân,
I gael lles, nag un gwawl llon,
O'i ddoniawl ymddyddanion;
Er ein braint, rho'i ger ein bron,
Raddau a threfn Derwyddon;
Ac enwog lwythau Gwynedd
A'u helynt, gynt, yn mhob gwedd;
A chwiliai i hen achau 'i wlad,
At eu hurddas a'u tarddiad;
Sylwai ar wreiddiau seiliol
Yr iaith, ei heffaith a'i hol,
A chywrain eglurai 'n glau
Lawn, fythol henafiaethau.
Fe ddygai, yn fuddugawl,
Wybodaeth helaeth i'w hawl;
Goleu rhydd i eglurhau
Iaith wir yr Ysgrythyrau;
Esboniai, a dygai 'n deg,
Bur wyddiant, ar bob broddeg;
Pob pennod ac adnod oedd
Yn llaw ei fawr alluoedd;
Ac o'i flaen ef, gyflawn ŵr,
Dwl wywai pob dadleuwr.

Pan f'ai beirddion, waelion wyr,
A'r gwamal ffol rigymwyr,
Yn ofera'n wag fwriad,
Ac yn prysur lygru'r wlad—
Rhag eu hafiach ddrwg ofwy,
A'u holl gyfeillachau hwy,

Yn dawel ymneilldūodd
I fysg rhai f'ai wrth ei fodd:
A rhodiai mewn ysbryd mawl
Drwy faesydd daear foesawl;
Rhodio efo rhai difoes,
Ni fynai ef, yn ei oes;
Cashâi rodres, gormes gaeth,
Roddai niwl ar ddynoliaeth—
Dyn ydoedd yn dwyn nodau
Graslawn i'w ffyddlawn goffhau.—
Degau o Weinidogion,
Blin eu taith, anwyl-blant Ion,
A gawsant ganddo gysur,
A glân barch, o galon bur;
Gwir groesaw, gwresawg a rhydd,
A derbyniad, ro'i beunydd;
Yn mhob gwedd, ymgeledd gu,
Ei dŷ oedd, i'w dedwyddu;
A rhwydd gyfranai 'i roddion,
O wych sêl, at achos Ion;
Chwith i'r fro ei gofio, gynt,
Yn llawn hwyl, mewn llon helynt,
Efo'r llu, difyr a llon,
Egin ter o gantorion;
Ganwaith, yn hirfaith arfer,
Cydleisio, cydbyncio'n ber;
Yn seinio mor gysonawl
Salmau Prys, felys ei fawl;
Rhoi iddynt addysg wreiddiawl
Am natur mesur pob mawl,
A'i waith, fal peroriaethydd,
O leshad i luaws sydd.

Ond byr o hyd i barhau,
Yw gwawr oes, er pob grasau;

Angau 'n chwai a honai hawl,
Ar ei eneth dirionawl,
Nes gwywo, llwyr gilio 'i gwedd,
Er galar i argeledd;
Ac fal tad hoff, teimladol,
Yn gaeth, gan hiraeth o'i hol,
Dyroddai lif dwyrudd wleb
Ei awenydd brudd wyneb,
Yn anwyl i eneinio
Ei henw'n brid yn ein bro;
Cofio'r adeg hyfrydol
Y byddai ar grib y ddôl—
Cofio 'i gwel'd, ac efo 'i gwaith,
A'i gwenau siriol ganwaith;
Cofio 'i phiano, a'i pher
Danau yn seinio 'n dyner;
Mwyn fiwsig, ei mein fysedd
Chwareuai 'n gywrain bob gwedd;
A'i chofio mewn dyrchafiad,
Eneth hoff, yn nhŷ ei thad:
Edrych ei llyfrau mydrol,
A'i heirdd ysgrifau o'i hol—
"Chwilio'r celloedd oedd eiddi,
A chwilio heb ei chael hi,"
Oedd ofid anoddefol
I'w daro o hyd ar ei hol.

Syn oedd heb ei Sian, heddyw,
Ffoes ei lon obeithion byw;
Collai ei ferch hyserch, wyl,
Ei unig eneth anwyl,
Ddenai 'i fryd, oedd iddo 'n fraint,
Yn nghanol ing a henaint;
Ei lad ddeheulaw ydoedd,
Ei lygaid a'i enaid oedd;

A hoffder, mwynder ei mam
Oedd yn ei beroes ddinam;
O bob colled, yn mhob man,
A gafodd ef yn gyfan,
Ac uthr brofedigaethau,
O'i amgylch, a fu 'n ym gau,
Yn nydd gwae, hon oedd i gyd,
Y fwyaf yn ei fywyd;
Ac i waelawd ei galon
A'i rhwygiad du 'r ergyd hon.
Ei brudd Alarnad ger bron,
Drwy y llidiawg drallodion,
A wnaeth mewn alaeth i ni
Yn dyner gof am dani,
Wna i'r ddi-freg ddur ddwyfron
Ddrylliaw 'n hir wrth ddarllen hon;
A deil hon tra byddo 'n bod
Iaith Eifion ar ei thafod.

Ha! Robert, fardd arabawl,
Difyr a fydd dy fawr fawl;
Hoff dy gofio, Gymro gwych,
Uchel awdwr tra chlodwych;
"*Gardd Eifion*," yr hon, yr hawg,
Erys ini 'n rhosynawg;
Llawn ardd mewn dillyn urddas,
O liwdeg wrid, blodau gras;
Ac aeron teg yn gorwedd,
A gwin a ddwg newydd wedd,
Yn lloni myrdd, yn llawn maeth,
A da nodd Duwinyddiaeth;
I gynal y rhai gweinion,
A gloewi Saint Eglwys Ion;
Llawer Cristion, bron, heb wres
O fewn ei drymllyd fynwes,

A'i feddwl mewn cwmwl caeth,
Yn nhrom awyr amheuaeth,
A'i brofiad, a'i deimlad o,
Wedi haner edwino,
A brofai bur gysur gwych
O'i fwynion odlau 'n fynych;
A phob cadernid i'w ffydd
I dawel ddal ei dywydd.

Dyg ei law i Walia wen
Amrywiol emau 'r awen;
Rhoi i lawr fawr fyfyrion,
Y bu am ddoethineb Ion;
A dygiad ei waith digoll
Yn creu dyn—a'r cariad oll—
Ei ddwyfol fawredd hefyd,
A'i allu heb ball o hyd,
Yn dyfal gynal ar goedd
A'i law aneirif luoedd;
A rhoi lawn brudd ddarluniad,
O suddiant dwys Adda'n Tad;
Ac am yr Iawn a'r cymod,
Oedd oddi wrth ei Dduw i dd'od,
I lu o'i hil gael ail haf,
Trwy lwyddiant yr ail Addaf;
Hedai 'i awen dra diwyd,
Dros oesau'r cysgodau i gyd;
Ac o feddwl cyfaddas
Rho'i dro drwy holl drefn rhad ras,
A myfyriai am fawredd
Gras Duw oll drwy Grist a'i hedd—
A gwnai 'i awen gân newydd
O fuddugawl fawl a fydd
Gan dyrfa wen, ysblenydd,
Ddi rif yn cyfodi fydd

Uwch loes i uchel leisiaw
"Iddo Ef," y dydd a ddaw;
Darluniai drwy lawenydd,
Am gydgan, goroian rydd,
Y ryfeddol dorf addien
Y sydd wrth yr Orsedd wen,
Yn troi o gylch trwy y gwawl
Ar adenydd trydanawl;
Ei brudd enaid barddonol
A fu 'n hiraethu ar ol
Ei dra hoff gyfaill di rus
O Ramoth, awdwr grymus;
Hoff dir ei goffadwriaeth
I ni 'n gysegredig wnaeth,
A chofion mynych hefyd
O lwyr barch ro'i nwylaw'r byd,
Am lawer drwy brudd-der bron,
Gymerid i fysg meirwon.
Ac i eraill, a garai,
Ddillynion anerchion wnai;
A rho'i ef, er ei hir fawl,
Gywyddau teg a haeddawl;
Deil ei deg Awdlau digoll,
A'i Englynion heirddion oll,
Yn bur fudd, yn brawf o'i ol,
O'i gywrain ddawn ragorol.
Ac o'i holl destynau i gyd
A garai i'w hagoryd,
Ac afrif bynciau hyfryd,
O fawr werth, fu 'n dwyn ei fryd,
Mynwes gardd Gethsemane—
Y chwys—y llys, a phob lle—
Y dirif gyfyngderoedd,
A'r gwawd a'r dirmyg ar g'oedd,
Yn mhob dull, gai Mab Duw Ion,
Yn nwylaw annuwiolion,

A rhoi y dewr filwyr dig
I ffosi ei gorph ysig,
A'i roi ef, fal yr euog,
I angau, rhwng dau y'nghrog,
A chofio'r groes a'r loesion,
O'i fodd, ddyoddefodd ei Ion;
A'r gwaed oll, drwy'r ergyd a
Lifeiriodd ar Galfaria,
Oedd enaid ei ddyddanwch,
A hoff wledd ei awen fflwch;
Ei goethlawn. felus gathlau
Yma'n hir gant eu mwynhau.

Ei ddawn ydoedd ddeniadol,
Fal afon dirion mewn dôl,
Yn eirian lithro'n araf,
O dan heirdd gysgodion haf;
Dolenai, a delw anian
Yn glws ar ei gwyneb glân;
Gweuai dlysog Awdl iesin
Gwnai newydd Gywydd fal gwin;
Trwy degwch natur dygai
Ei oleu bwnc heb ôl bai;
Ac â chryfder, uchder iaith
Urddunai ei farddonwaith,
Yn lân oll, a'i linellau
Wedi 'u gwych blethedig wau;
Cloi synwyr, mewn clysineb,
Yn hynod wnai, 'n anad neb;
Dawn Seraff, daniai siroedd,
Y'nghalon ei Englyn oedd.

Wedi amwain hir dymawr
O'i oes fyw 'n y Betws fawr,
Deuai cymylog dywydd,
Iddo ef, yn hwyr ei ddydd,

I'w siomedig symudaw
O'i hen ddyddan drigfan draw;
Yn ei waeledd, mewn alaeth,
Draw i'r Mynachdy yr aeth;
Yno, yn ei benwyni
Dan goron hyfrydlon fri,
Adnewyddai dawn addien
Ein Patriarch hybarch a hên,
A'i loew awen, fal ëos,
A ganai yn eigion nôs;
Rhoes i fyd, ar ris ei fedd,
Nefol fyfyriol fawredd.—
Eilio i ras hael yr Iesu,
Ei oes faith, yn felys fu;
A'i deilwng fydriad olaf,
Yn ei oes, a fu i'w Naf.
Ac yna, mewn gogonedd,
Yn llawn hwyl a llawen hedd,
Ei awenydd dywynawl
A hedai i gu wlad y gwawl.

Ar dy ol, fwyn Athraw da,
Fy awenydd riddfana;
A chystudd prudd sy'n parhau
Dan wraidd ei llwydion ruddiau;
Ië, ôl galar welir
O fewn dy hen Eifion dir.—
Wyla doniau'th wlad anwyl,
A'i thelyn aeth o lawn hwyl;
Yn mynwes gynes Gwynedd,
Deil dy barch hyd waelod bedd:
A balch a fydd Cymru byth,
O'th deilwng weithiau dilyth.

O! borth Cawrdaf* olaf fan,
Is heulfyd, brudd noswylfan,

* Mynwent Cawrdaf, lle claddwyd ef a'i ferch.

Am unwaith, gad im' anerch,
Yr hen fardd, a'i dirion ferch;
Ond ynot ni'm hadwaenir,
Ar ol d'od i'th farwol dir,
O'i obry wely olaf,
Emyn na cherdd, mwy ni chaf;
Ni chaf ond gwlychu ei fedd,
A chwyno uwch ei anedd;
Treigled deigron afon Erch
Ar lenydd ei oer lanerch;
Wylofus awel Eifion
Chwifio'n awr, uwch y fan hon,
Gan fynych ddwys gwynfanu
O herwydd dwyn ei Bardd Du.

Boed iddo huno mewn hedd
Hyd foreu 'r hyfryd fawredd,
Pan y cwyd, heb boen nac aeth,
O waelod bro marwolaeth,
I lawenydd diflinaw
Yma ryw ddydd mawr a ddaw;
I'w weddw lwyr yn nydd ei loes,
Ar lân ei hwyrol einioes,
Ei Hion doeth a fyddo 'n Dwr
A phenaf Amddiffynwr.

---

## CWYN YR AWDWR O HERWYDD CYFANSODDI CERDD WAGEDDUS.

Och! awen addien heddyw,
Neud pechod dy fod yn fyw!
Haeddianawl, er dy ddoniau,
Dy yru i gell daear gau:

Gwna i ŵr da a dien,
Dynu y byd yn ei ben.
Na dyfod i wneud ofer
Ganiadau 'n lle pynciau pêr,
Gwell a f'ai 'th golli o fyd,
I boeth elfen bytholfyd!

Ust! gormod, gormod o gam,
Cloi ei doniau clau, dinam:
Gwir syn wyf! gresyn hefyd
Yw hyn i bêr Fanon byd:
Morwyn Nêr, dyner ei dawn,
O gyneddf rywiog uniawn,
Anhafal ei rhin hyfawr,
Ddawn wen fwyn, gwna ddyn yn fawr;
Pêr yw ei cherdd, par ei chân
Lawenydd drwy gôl anian.

O'm hamod gwneuthum yma
Gam beunydd o'i defnydd da;
Ei bwrw o'i syw wiwbur sedd,
Yn forwyn i oferedd!
Ei boddi, llwyr golli 'i gwedd,
Yn mrig eigion môr gwagedd.

Dwyre gynes dduwies dda
Yma 'n ol, a mwyn eilia:
Yn foreu fy nifyrwch—
Dy hoff lais, a'th dafod fflwch;
A fy anwyl brif fwyniant
Hyd y dydd yw swn dy dant.

Clod i Dduwdod yn ddi-dawl
Dy lwyswych odlau oesawl;
Hardd sywiawl gerddi Seion,
I ereshau yr oes hon.

Derfydd bardd o dorfoedd byd,
Ac â i lawr y cul weryd;
Awen firain anfarwol.
Hed adref i Nef yn ol.
Ynfydrwydd mawr anfeidrawl
I brydydd roi 'i ddydd i ddiawl,
Ac i ddi ffawd wagedd ffol
Ro'i ei ddoniau urddunol.

Minau fu'm wan fy 'menydd,
A'm hawen deg i'm hun dydd,
Yn eiliaw heb iawn olwg—
Annoeth dro yn eitha' drwg—
I ddyn ifanc oedd nwyfawl
Foreu 'i oes yn fyr ei wawl;
Dwl a distadl ei destun,
Ehedai i ffwrdd gyda ffun.

Duw fy Ior edifarwyf
Achos hyn, tra ochus wyf.

Aed ei fydriad i fadru,
I ingaf dwll anghof du:
Na ddeued didduw awen
Yma mwy i mi, Amen;
Ond awen fwyn a'i dawn fad
O gain erfai gynhyrfiad;
Nefawl ganeuon hyfoes,
A fydrwyf fi drwy fy oes;
Tra'm hawenydd trwy'm heinioes,
F' unig rym fo Iawn y groes;
'E ddaw o hyn ddaioni,
I fy rhan drwy Dduw, fy Rhi.

Derfydd rhodiaw daearfyd,
A'i bleserau gau i gyd;

Af ar fyr i'r difrif fedd,
Fro eres i frau orwedd.

Oferedd ni fyfyriaf,
Troi yn ol o'r tir a wnaf,
A dychwelyd i chwiliaw
Beth a fydd rhyw ddydd a ddaw:
Cofiaw 'r wyf y cyfrifir
Fy holl gamrau gau a gwir;
Geiriau ofer digrefydd
Yn y farn i'm herbyn fydd.

Hyf ymgydiwyf am gadarn
Wiw Noddfa yn nydd y farn;
Dal gafael, cyn del gofwy,
Yn yr Iawn mawr, yn Nuw mwy;
Heb ofn y ddofn afon ddu,
A'i llwythawg dòn i'm llethu!

Mwy byddaf fel mab addien,
Trwy iawn barch i'm tirion Ben;
Byw i Dduw 'r hwn bia ddawn
Fy enaid yn fwy uniawn;
Byw ronyn mewn ber einioes
I gael gwledd diddiwedd oes;
Rhoddaf fi reddf fy awen,
I Dduw mawr hyd fedd, Amen.

---

## ANERCHIAD I AB ITHEL.

(Yn y flwyddyn 1859, cynygiwyd gwobr gan Bwyllgor Eisteddfod Corris, am yr Englyn goreu i'r "Cwmwl." Dyfarnwyd y wobr i awdwr y Cywydd canlynol; ond yr oedd tuallan i gylch y gystadleuaeth. Ar ol yr Eisteddfod, anfonwyd y Cywydd i'r Beirniad).

Chwi Ab Ithel, uchel ŵr
Yw yr addas geryddwr,

A'r goraf ŵr geir i fod
Wedi cam i wneyd cymod.
Yn awr, na chosbwch fi 'n ol
Fy unig fai awenol,
Ond rho'wch eich maddeuant rhydd
Am unwaith i'm hawenydd.

Du, a drwg yw'r byd a'i dro,
Heb ryddid i'w bereiddio;
A nos hir yw'r einioes heb
Lawnder o win boddlondeb:
Ystyriwch, gwnewch dosturi,
Efo 'ch brawd ddyrchafa 'ch bri.
Ond er hyn, hyd derfyn dydd,
Mŷn awen gael màn newydd;
A throed ei hathrylith rydd
Ar lydain ddyeithr wledydd.

Rhyw foreu, mewn gwir fawredd,
Ai yn ei gwisg lân ei gwedd,
I'r nen, lle mae 'i helfen hi,
A'i swydd yn urddas iddi:
Cai olwg ar deg heulwen,
Dillyn fyd llu y nef wen;
Ac amlwg olwg ar gas
Fro annwn, yn fawr wynias;
Ac âi ar aden corwynt
I oer gell y rhew, a'r gwynt;—
Golwg gai ar ddirgelion,
Gwaith bysedd rhyfedd yr Ion:
Llon oedd gyda llu y nen,
Wrth lwybro'r nerthol wybren;
Adfywhad iddi fu hyn
I'w swyno, nes ei henyn
I gludo uchel glodydd,

Am haul a'i dân, am wawl dydd,
Am loer, ser, a'u lleufer llon,
Oruchel danbaid wreichion;
Am wyllt dwrf y fflamllyd dân,
Yn ymdori 'n drom daran,
Am y llaith gwmwl llwythawg,
Am wres, a gwynt, ar hynt rhawg,
Am li y môr, am wlaw mân,
O bwrs enwog bras anian.

---

## YR AWEN GYMREIG A'R UN SEISNIG.

(Wrth weled y clod a roddid i ISA CRAIG oherwydd ennill o honi y wobr am y gerdd oreu er coffadwriaeth am ROBERT BURNS).

GWRANDAW Gymru gu, deg wedd,
Ar uniawn lais gwirionedd;
Er fod genyt hynod wŷr
Yn gedyrn, ddoniawg awdwyr,
A llawer bardd galluawl
I'th enw a fydd byth yn fawl;
Mae gwleddoedd, mae gwawl addysg,
Iaith, dawn, gwybodaeth, a dysg,
Dy awen di a'i bri, bron
Heb nodded ein boneddion:
Ni ro'nt nerth o werth i wan,
I loni 'i farddawl anian;
Na rhith pris am ffrwythau pren
Y fywiawl irdwf awen;
Mae urddau heirdd mawredd hon
Is sylw ein hurddasolion.
Mae hi a'i phlant mwyaf fflwch
Yn y niwl—mewn anialwch;

Rhaid i'r cyfryw fyw, hyd fedd,
Ar hanner gwerth eu rhinwedd,
A marw yn annhymorol,
Yn resyn i'r oesau 'n ol:
Diwedda 'u holl dywydd hwy
Yn yr un bedd a GRONWY!
Ond awen y Sais diwyd,
Sydd lon, a boddlon ei byd,
Mewn hedd, yn mwynhau heddyw
Ddigon o foddion i fyw;
Urddas ar fawredd ei swydd
Ddodir, i'w gwneyd yn ddedwydd.
Albanwyr uchel benau
Am ei rhin wnant ei mawrhau,
A'i dyrchafu 'n gu ar g'oedd
O'r lle isaf i'r llysoedd.
ISA CRAIG, yn ngwres a gwrid
Ei gwên anwyl gynenid,
Yn ugain oed enwogodd
Ei hun â pharch, mewn hoff fodd;
Hon gai haner can' gini,
Am iawn brawf o'i dawn mewn bri;
A chafodd ymgyrch hefyd
Efo beirdd mwyaf y byd,
Gyda 'i chân o fwynlan fawl,
I ROBIN BURNS arabawl:
I ddawn y bardd hwn y bu
Rhoi dydd o anrhydeddu,—
Mwyn son am ei enw swynawl,
Hedai 'n gynt drwy'r byd na gwawl!
Nes oedd mynwesau heddyw
O fawl ban yn ufel byw!

# Marwnadau, Penillion, &c.

## MARWNAD

**Mary Evans, merch hynaf Mr. John Evans, Pentre'rfelin, Eifionydd, yr hon a fu farw Mai 6ed, 1833.**

Och dristyd! ergyd hirgwyn!
  Och! dwyn i'r llawr mae angeu mawr;
Ow! torwyd i'r distaw-rŷch
  Flodeuyn gwych teg wawr!
Mor ryfedd! Mary Evans,
  Oleulan syw, o dir y byw
A yrwyd i lom orwedd
  I geufedd marwol gwyw!

Ow Mary, darfu d'yrfa,
  Byr fu parhad dy redfa rydd;
Rhoes angeu syn, y teyrn erch tŷn
  Chwai derfyn ar ei dydd:
Ail yw dyn i flodeuyn,
  Neu ryw lysieuyn irlwys wedd—
Y boreu 'n bêr, blodeuol dêr,
  Brydnawn yn nyfnder bedd.

Och, angeu llym arswydus!
  Echrydus yw i bob dyn byw,
Nid ydyw'r gwycha' i'w erbyn
  Ond gwyfyn gwael a gwyw;
Troi 'i gwyneb a'i thirionwch
  I lwch dan glo, trwm ydyw'r tro
Yn mlodau 'i dyddiau diddan,
  I druan gryd y gro.

Un oleu, gall, anwylaidd,
I oeraidd rŷch mor foreu roed;
Aeth obry i'r bedd yn wael ei gwedd
Cyn cyrhaedd ugain oed.
Syrth tegwch hardd blodeuol
I ddu oer gôl y ddaear gudd;
A diwedd pwys pob nychder dwys,
Yw'r bedd, orphwysfa brudd.

I'w hoff rieni anwyl
Mae arwyl mawr am guddio gwawr,
Mewn pruddaidd oeraidd weryd,
Anhyfryd lychlyd lawr!
I'w brodyr a'i chwiorydd,
Carenydd cu, cyfeillion lu,
Mae dolur a du alar
O'i rhoi i'r ddaear ddu.

Is haul nid hir preswyliodd
Fry ymaith 'hedodd hi cyn hir,
A'r babell frau i'r culfedd cau,
Hyd foreu goleu clir:
Bydd byth 'r 'ym yn gobeithiaw
Yn seren siriawl nefawl nôd,
Yn ngwlad y gwawl yn seinio mawl
Didawl, rhyfeddawl glod.

Adfywia, deilia'r dolydd,
A'r gwŷdd i gyd yn hardd eu pryd;
'R asgellog gôr heb golliant
Bêr byngciant i Grewr byd;
Yr heirddion lwysion lysiau,
A'r blodau pêr, a wnaeth ein Nêr,
Yn hollwych ddeuant allan;
Tywyna'r huan têr.

Y llwyni 'n syw feillionant,
  Fry deuant oll o'n daear den;
Pob dyffryn teg, yn hardd ddi-freg
  A gwiwdeg, gwyd ei ben;
Ond MARY 'n ddiau 'n dawel,
  Llwyr huna 'n isel yno 'n awr;
Ni ddychwel fry o'i marwol dŷ
  Nes egyr lletty'r llawr.

Er hawddfyd, iechyd gwychawl,
  Er siriawl wedd a hyfryd hedd,
Fe'n bwrir oll ryw enyd
  O dwrw'r byd i'r bedd;
Rhai ydym ar ymadaw—
  Ar fyr daw'r pryd, awn oll i gyd,
O'r einioes fer derfynawl,
  I'r annherfynawl fyd.

Rhaid gado'r tŷ daearawl
  Er goddef marwawl ingawl loes,
Yn mhob rhyw le, ar alwad Nêr,
  Ni rusir amser oes:
Un ydyw ni newidir,
  A fŷn Efe 'mhob man a fydd;
Pan arch Ef â y drwg a'r da
  I derfyn eitha' 'u dydd.

Nid oes a estyn gysur,
  Dan lafur loes ar ddiwedd oes,
Ond Iesu mwyn sancteiddlan
  Fu'n gruddfan ar y groes:
Y byd yn ol a gilia,
  Ni ddalia ddim y'ngwyneb llym,
A dwysion ergydiadau
  Yr angeu mawr ei rym:

Yn ebrwydd awn i briddell
Ac oer gell dywell daear lawr,
Gan ado'r byd, ei wae i gyd,
A'i hawddfyd ennyd awr.
'Does iaith nac un myfyrdod
Na gwaith yn bod o fewn y bedd,
Ond pawb dan glo 'n y farwol fro
Ar ol newidio 'i wedd.

---

## MARWNAD

Ar farwolaeth ANN, merch hynaf Mr. ROBERT GRIFFITH, Adeiladydd Porthmadog, yr hon a fu farw Hydref 19, 1840, yn ddeuddeg mlwydd oed.

YR Heulwen bur oleua'n byd,
A daear hen a dry o hyd;
Ar ael y fron yr afon red,—
Ac amser sŷn fel hyn ehed.

Dan wenu 'n fwyn y gwanwyn gwyrdd
A'i goflaid ferth ddwg flodau fyrdd;
Holl anian fawr i'w llinyn fydd
Yn llawenhau o'i rhwymau'n rhydd.

Yr adar cynar yn y coed
A gân yrwan fel erioed:
Daw'r gôg odidog gyda 'i dawn,
A'i difyr nôd o foreu i nawn.

A'r wenol ddaw yn ol i'w nyth,—
Ond, Och, ANN bach nis dichon byth;
Hi fydd yn llonydd yn y llawr
Hyd alwad yr ymweliad mawr.

Megys blodeuyn gwyn, teg wawr,
Dechreuai dyfu i fyny 'n fawr;
Ei golwg teg tra lliwdeg llon
O dyner fryd a daniai'r fron.

A denu 'r oedd, drwy 'i dawn a'i rhin,
Y serch yn glau â'i geiriau gwin;
Mewn purdeb moes, callineb llawn,
Egino 'r oedd yn gynar iawn.

Ond er mor wych ei drych am dro,
Fe lwydai 'n brudd—flodeuyn bro;
Ehedodd gwrid ei hawddgar wedd,
I'w dwyn o'r byd i enau'r bedd.

Pan ydoedd araul haul ei hoes
Yn y Dwyreinfyd, crinfyd croes,
Machludai, ac olwynai i lawr
I ail fod mwy mewn eilfyd mawr.

Yn ngwên ei Naf, yn ngwanwyn oes,
Ei hunig rym oedd Iawn y Groes;
A daliai 'n bur hyd lan y bedd
Yn eiddo hoff i Dduw a'i hedd.

Bu mewn sirioldeb, purdeb hardd,
Yn Sion gu, fel rhosyn gardd:
A ffyddiog i'r oludog wlad,
Ai ymaith o ŵydd mam a thad.

Ei hysbryd aeth mewn hyfryd hoen
I fedi byth, o fyd y boen;
Gan seiniaw 'n llon, uwchlaw och loes,
A mwyn i Dduw, mewn newydd oes.

Caiff wisgo ieuenctyd hyfryd, hardd,
Yn fywiawl yn y nefawl ardd:

Un ffunud a'i gorff hynod Ef,
Heb aeth na nam, byth yn y nef.

Na fyddwn drist, lu athrist lef,
Am rai sy'n huno ynddo Ef:—
I'w phurlan wedd, ffarwel yn awr
Hyd oleu fyd y frawdle fawr.

---

## MARWNAD

Er cof am RICHARD WILLIAMS, fy mab hynaf, yr hwn a fù farw Ebrill 16eg, 1847, yn 6 mlwydd oed.

EI ddaionus ymddiddanion
Ddenai ein serchiadau 'n llwyr,
A'i emynau cynes mwynion
Doddai 'n calon fel y cwyr;
Addurniadau gras y nefoedd
Ymddysgleirient yn ei wedd;
Iesu Grist yn unig ydoedd
Ei ddifyrwch hyd ei fedd.

Mae ei enaid lle dymunodd—
Gyda Christ yn Nheyrnas nef;
Una 'n llawen gyda'r lluoedd,
Byth i seinio "Iddo Ef:"
Ydoedd dlws rhy hardd a gwerthfawr
I fod ar y ddaear ddu;
Benthyg oedd, ac fe'i cymerwyd
Ymaith i'r Baradwys fry.

Am RISIART, fy mir rosyn,—mae hiraeth
Marwol yn fy nilyn;
Foreu 'i oes oedd fawr resyn
Rhoi 'i wedd glws yn mhridd y glyn.

## FY MAB.

O, HUMPHREY! fy machgen mwyneiddlan,
Hoff blentyn penfelyn ei fam;
Mor ddèl y dechreuai ymddiddan,
Cyn iddo braidd gerdded dau gam:
Wrth gofio ei ruddiau rhosynog,
A'i ddau lygaid gleision teg wawr,
A chofio 'i lais anwyl a serchog,
Mae 'n hiraeth am dano yn fawr.

Ei ddeufrawd a'i chwaer a'n gadawodd,
Yn foreu ddilynodd efe;
Mae pedwar o'n plant ar y ddaear,
Mae pedwar o'n plant yn y Ne';
Gobeithiwn cawn eto gydgwrddyd
Yn llawen i fythol ail fyw,
Ar fryniau ysblenydd y gwynfyd
Yn hyfryd gymdeithas ein Duw.

Cawn yno folianu 'n unfrydol
Heb eisiau ail gywair i'r gân,
Y'nghanol digrifwch tragwyddol,
A'n gwisgoedd yn ddysglaer a glân;
Cawn hefyd ryfeddu 'n ddiflino
Wrth weled Mab Duw fel y mae,
A bod yn gyffelyb byth iddo
O gyrhaedd pob gofid a gwae.

---

## MARWNAD

**Ar farwolaeth Mr. JOHN ROBERT JONES, unig fab ac etifedd Mr. ROBERT JONES, Brondanw, Swydd Feirion.**

OH! IOAN fwyn i'r bedd di drefn a droes,
Y'nghanol nerth a defnyddioldeb oes:

Pan ydoedd dyfroedd dysg yn llanw ei fron,
A natur gaid yn troi o'i gylch yn llon;
Mor iach, a chryf, a hardd yr oedd ei ddrych,
Gan hoywder oes, yn llawn addurniant gwych;
Ac uchel mewn gwybodaeth, rhin, a moes,
A gobaith llon o gael mwynhau hir oes;
Ond, och, mor fyr y bu parhad yr hynt,
'R'oedd angau llym a'i saethau 'n gwau drwy'r gwynt,
Ac yn ei threfn wrth ordinhad y Nef
Ehedai'r saeth yn union ato ef;
Y gobaith cryf a droai 'n siomiant dwys,
Newidia 'i wedd gadawai 'r byd a'i bwys;
I'r farwol chwa ni ddaliai 'i einioes wan,
Edwinai fel blodeuyn yn y fan;
Er ei ddyfrhau ar foreu a hwyr o hyd
Marwolaeth gaeth deyrnasai ar ei bryd;
Nis gallai 'r haul a gwres ei gynes gol,
Na'r awel bêr, ei adfer yn ei ol.

Fy nghyfaill hoff ai gwir dy fod yn gaeth,
Na chlywaf mwy dy ymadroddion ffraeth?
Ai ofer aeth dy ddysg, dy ddengar ddawn,
Dy gref athrylith a'th gallineb llawn?
Yn awr pa le mae'th lais a'th emyn ber,
A'r Salmau mwyn a genit i dŷ Ner?
Ai diffodd wnaeth dy awenyddawl dân
Enynai'm serch nes dwyn fy mryd yn lân?
Y maith dystawrwydd sydd yn tystiaw 'n syn
Ei fod dan glo marwoldeb, yn y glyn.

Ei ddirfawr boen, ei gystudd maith a'i loes,
Ddioddefai heb ddweud dim am Dduw yn groes;
Gadawodd bawb a'i carent wiwddyn cu,
Ac ar ei ol y deil argyllaeth du:
Yn iach mwy am ei fwyn gyfeillach fad
I sôn am feirdd, a phigion tref a gwlad;

A sôn am ddull y byd, a gwychder gwaith
Ein Crëwr doeth drwy'r nef a'r ddaear faith;
Ymddiddan am lesoldeb dysg a moes,
A'r penaf bwnc—adnabod Crist a'i groes;
Yr unig gysur pur i'r enaid gwan
Yw meddu Iesu 'n briod ac yn rhan;
Ffyddlonach yw na thad, na mam, na gwraig,—
I'w blant gwna 'r hen Iorddonen ddofn yn graig:
Er cuddiaw'r corph am oesau yn y bedd,
Daw boreu llon o adnewyddawl wedd,
O ddedwydd ddydd pan gwyd mewn nerth heb gur
I gynal pwys y maith ogoniant pur,
Yn un a'r ysbryd mewn gorhyfryd hwyl,
Mwynhau y wledd, a bythol gadw gwyl;
Rhyfeddu trefn rhad ras, a rhodio drwy
Heolydd aur y Nef heb flinaw mwy;
Am waed y Groes per ganu'r newydd gerdd
Ar fryniau gl'wysion y baradwys werdd,
A gweled Crist, bod megis ag y mae,
Mewn gogoneddus wedd o gyrhaedd gwae.

---

## MYFYRDOD AR ANGEU.

Ofer yw rhoddi serch a bryd
  Ar bethau'r byd symudol;
Derfydd ei bleser, mwynder mau,
  Yn oriau angeu ingol.

Pe byddai 'r aur i gyd i'n rhan,
  Ac arian rif y tywod,
Un lles ni wnant, er mwyniant mawr,
  Oddeutu 'r awr ymddattod.

Pe caem bob mawredd y'mhob man
  Tra buan rhed y bywyd,

A rhan y dyn ryw enyd awr
Yw gwyro i lawr y gweryd.

Nis gall y doniau gorau 'gyd
Un enyd estyn einioes;
Ond rhaid yw myn'd o dir a môr
Ar alwad Iôr i eiloes.

Nid oes er cael trwy 'n hoes lawn hedd,
Anrhydedd a phob rhadau,
Un man y'mhedwar ban y byd
I ddiengyd yn nydd angau.

Boed ini oll, heb oedi 'n hwy,
Fyfyrio mwy am farw;
Can's nid oes un a ŵyr is sêr
Yr hynod amser hwnw.

Ond ini gael y fawr fraint gu
I garu 'r Iesu grasol,
Nid ofnir gloes, na dyfnder glyn,
Na cholyn angau ingol.

Oblegyd Crist, pan dry pawb draw,
A ddaw i'r glyn yn ddiau,
Yn Ffrynd i gynal pen y gwan
Rhag suddo tan y tònau.

*Awst 30ain, 1833.*

---

## DIOLCHGARWCH AM Y CYNHAUAF, 1838.

Tydi, O Dduw, yw Llyw y llawr,
A Barnwr mawr y byd;
I Ti boed mawl rhyglyddawl glân
Yn ddiwahân o hyd.

Er iddo fygwth rhoddi 'i farn
A'i gadarn allu mawr,
Yn erbyn barn trugaredd gu
Wnai orfoleddu i lawr.

Er mor annheilwng yr y'm ni
Eleni yn ei law,
Arbedodd ef—cair bwyd i ddyn—
Fe droes y newyn draw.

Gallasai suddo 'n gwlad yn sarn
Dan lid ei farnol law;
A newyn bara yn y byd,
A'n bröydd i gyd mewn braw.

Ond yn ei law y gwlaw a'r gwlith
A'i 'n fendith i'r holl fyd;
Ei hen gyfamod gyda dyn
Mewn hedd sy'n un o hyd.

Yn ei drugaredd ryfedd rad,
Gwarediad gwiw a roes:
A thrwy 'i Ragluniaeth lluniaeth llawn,
Yn diriawn, onid oes?

Gwrandawodd gŵyn trueiniaid gwan,
O'i lŷs, anfeidrol Iôr!
Mae ynddo gariad yn ddigêl,
A mawredd fel y môr.

A chalon glau dychwelwn glod,
Yn lân i'r Bôd dilyth;
A cheisiwn oll yn achos Nêr
Y bara bery byth.

## LORD A LADY FIELDING.

*(Byrfyfyr, buddugol yn Eisteddfod Aberffraw, 1849).*

I'N Breiniol Eisteddfod drwy glod têr a glân,
Y daeth Arglwydd Fielding, ar gynydd â'r gân,
A'i uchel Arglwyddes yn gynes a gawn,
I'n gwledd mae 'n ogoniant, er llwyddiant tra llawn;
Pob anwyl dderbyniad, croesawiad y sydd
I'r ddau o un galon yn rhadlon a rhydd.

Os dyma'r tro cyntaf, nid olaf dïau,
Y gwelir eu gwyneb mewn purdeb i'n pau;
Coleddant yr Awen yn drylen oll drwy,
I ddysg a chelfyddyd rho'nt fywyd fwy fwy;
Boed hir oes ac iechyd, a hyfryd fwynhad,
I'r ddau anrhydeddus sy'n glodus drwy'n gwlad.

---

## PENILLION A GYFANSODDWYD NOS SABBOTH, EBRILL 17eg., 1853.

BU'R angelion o wasanaeth
I mi ganwaith yn y byd,
Rhoddant nerth a chysur imi
Yn yr anial maith o hyd;
Dagrau 'ngalar a dderbyniant,
Nefol win ro'nt yn ei le;
Ant a'm dagrau yn ofalus
I gostrelau aur y ne'.

Adnewyddu mae fy ysbryd,
Ofn a galar ymaith ffy,

Cefais olwg ogoneddus
   Ar fy Mrawd sy'n eiriol fry;
Tân y nefoedd a enynodd
   Yn fy mynwes at fy Nuw;
Canaf iddo a diolchaf—
   Molaf ef tra byddwyf byw.

Pa'm yr ofnaf yr Iorddonen
   Os caf Iesu Grist yn frawd?
Rhodiaf gyda 'i glàn yn dawel,
   Heb ofn Satan, byd, na chnawd;
Yn ei thònau gorfoleddaf
   Nes bo engyl nef yn syn—
Canaf am yr afon hòno
   Lifodd ar Galfaria fryn.

Caf fy Iesu yn arweinydd,
   Caf ei gwmni, caf ei law—
Caf fynediad llawn a helaeth
   Drwy ei thònau i'r làn draw;
Caf angelion i fy arwain
   I ardderchog wledd y nef;
Caf fy nhelyn aur mewn cywair,
   Byth i seinio "Iddo Ef."

---

## EMYN.

Yn yr anial, ein harweinydd
   Ydyw Llywydd nef a llawr;
O llewyrcha Arglwydd arnom,
   Fel y gwelom dy dêg wawr;

Ti yw ffynon pob cysuron,
A thŵr Seion gadarn sail;
Ti yw Duw ein hiachawdwriaeth,
Drwy Eiriolaeth Adda 'r ail.

## FY NYMUNIAD.

O! na bawn i yn y nefoedd,
Yn cydseinio gyda'r saint;
Gweled Brenin y breninoedd
Fyddai yn anfeidrol fraint;
Cael mwynhau yr hyfryd wleddoedd,
Ffrwythau pur nefolaidd flas,
A bod yno yn oesoesoedd
Yn rhyfeddu trefn rhad ras.

*Tach. 29ain, 1874.*

# ENGLYNION, &c.,

## AR DESTYNAU CREFYDDOL A MOESOL.

---

### MYFYRDOD MEWN AFIECHYD.

YMA dall wy'n myd y llaid,—eisiau gras
Iesu Grist i'm henaid;
Goleuwr yw, ei gael raid—
Ef all agor fy llygaid.

O! na bai'r Haul glân ei bryd,—a'i wawl yn
Adloni fy ysbryd;
Truanol iawn trwy 'i enyd
Yw dyn heb wên Duw 'n y byd.

Yn mha le caf haf o hedd
I'r enaid mewn gwirionedd?
Hir chwiliaf holl dir y Dwyrain,
A'i aur coeth, a'i drysorau cain;
Och! er edrych a chrwydro,
Fel blin bererin mewn bro,
Nis gwelais i'm dysgwyliad
Lwybr hedd, o fythol barhad.
Af o'r eurog fro araul
I chwilio tir machlud haul,
Nid oes yno i'm dwys enaid,
Hyd y bedd, ond gofid di baid;
Cyfodaf yn awr, ac af wed'yn
I gloddio i gôl y Gogledd gwyn,
Eto, siomiant sy' yma—
Agwedd lwyd tragwyddol iâ:

Wedi maith grwydro'r De am wir
Gu fendith, drwy 'i holl gyfandir,
Yma gwlad lom, a siom sydd
I'w gael o benbwygilydd;
Foreu a hwyr, ofer o hyd
Oedd chwilio, rhaid i'm ddychwelyd.
Ymofynaf, pwy am funyd
A roddai ei bwys ar fawredd byd?
Rhyw boenau dirfawr beunydd
Yn ei siom a'i wênau sydd.

Er cyrhaedd aur ac arian,—ni lanwant
Wagle enaid truan;
Gras Duw 'n rhodd, ei Grist yn rhan,
A leinw wagle anian.

I'r dyn drwg o dan ŵg Ion,
Daw aml ofid, mal afon;
Digofaint Duw a gyfyd
Ar ei ben wrth lwybro'r byd.

Daw iddo annedwyddyd,—i'w ostwng,
Yn nhir cystudd bywyd;
Nes y gwel ei oes i gyd
Yn gronfa geiriau ynfyd.

Ond i'r dyn da, drwy ei daith
Daw gwawl a hin deg eilwaith;

Bwytyffrwyth gardd esmwythyd,—eiliafawl
Ar glaf wely adfyd;
Yf er beiau ddwfr y bywyd,
I lawenhau 'i galon o hyd.

Adnabod Duw yn obaith—a wnelwyf,
Gan wylio drwy'm hymdaith;
Mae dyn ar ei gyflym daith
O fewn dim i fyn'd ymaith.

Yr edau wan cyn hir a dyr,—a dôr
Byd arall a egyr;
Myn'd i ben mae'm munyd byr—
Egwan wyf, ac annifyr.

Os caf yr Iesu cyfion—yn obaith,
Gwynebaf yr afon;
Yn ei glwyfau mae i gleifion—win nefawl
Yn wledd felusawl i leddfu loesion.

I'r cristion gwan dan gwmwl du,—yr Ion
Rydd nerth i'w folianu;
Rhoi gras am ras mae'r Iesu
Nes ei gael i'w Deyrnas gu.

Duw o'i ras sy'n codi'r isaf—o'r llwch,
I'r lle godidocaf;
Wele eto i'r tylotaf
Obaith o wledd mewn bythol haf.

* * *

Buan hybais, âi 'r boen heibio,—heddyw
Hawdded gallaf rodio;
Wel, mawr fawl i'm Hiôr a fo—
Chwydded fy niolch iddo.

*Tachwedd, 1871.*

## PAN YN GLAF.

O! FY uchel gryf iechyd,—b'le 'hedaist
Mewn blodau ieuenctyd?
Heibio i aur—holl berlau'r byd
Dwyre'n ol dêr anwylyd.

O! hynod anhunedd—bod yn afiach,
Byd annifyr ollwedd;
Y fonwent fydd fy annedd
Oni ddaw rhyw newydd wedd.

Gwae droelledig drallodau;—tros f'enaid
Troes afonydd angau;
Holl waelodion y fron frau
A lwythwyd âg alaethau.

Ni chêl grudd gystudd ac ister—calon,
Draw cilia pob pleser;
Gwae a gofid gogyfer
Pob dyn sydd—pawb dan y sêr.

Gwŷn fochau gan afiechyd—a gefais,
Gwywodd nerth fy ysbryd;
Rhoi delw'r bedd ar deulu'r byd
Mae un oedfa mewn adfyd.

Llaw Duw a all o dywyllwch—fy nwyn
I fyw 'n ol mewn heddwch;
Neu 'm gyru o'm hygarwch
A mawr lid i'r marwol lwch.

Holl allu yr ellyllon—nid ofnir,
Na dyfn rydiau 'r afon;
Gyda Duw fe geidw y dòn
Er gwared ei rai gwirion.

Ar dranc oes nid oes ond Iesu—'n gyfaill
Uwch gafael pob gallu;
Eir drwy 'r hen Iorddonen ddu
I ogoniant dan ganu.

Fy nhlawd fyfyrdawd a fo—ar Iesu,
A'i ras i'm perffeithio;
Nes elwyf i noswylio
Ag iawn gred i eigion gro.

---

## "OFNI DUW."

(A gyfansoddwyd ar ol gwrandaw pregeth gan y Parch. W. AMBROSE).

OFNI 'R Ion tirion fel tad—a ddylwn,
A'i addoli 'n wastad:
O'i felus hedd caf lesâd—o newydd,
Ac o'i fwyn gerydd caf win ei gariad.

---

## CYDWYBOD.

TRIGLE hedd, neu fedd dyfnaf wŷn,—llais byw
Llys barn a gorchymyn,
Ydyw od gydwybod dyn,
Hyd eiloes yn ein dilyn.

## IAITH Y DYN GONEST WRTHO EI HUN.

CAF fendith drwy wneud cyfiawnder,—diboen
Yw cydwybod dyner;
O'r fendith caf wir fwynder,
Wrth fyw 'n ol cyfraith fy Nêr.

---

## ADFYWIAD YN SEION.

I SEION gyson i geisiaw—eu lle
Daw lluoedd dan wylaw;
Yn eu bryd eu hofn a'u braw
Wna i ddiogwyr ddiwygiaw.

Nid eglwys wan a dioglyd—a fydd
Dan faich anesmwythyd;
Ond tra buan tŷr bywyd
Ynddi fel rhyw newydd fyd.

Ei Hiôr anwŷl fydd ei harweinydd—i'w dal
Yn deilwng drwy 'i thywydd;
Dylanwad ei lawenydd
Oddifewn iddi a fydd.

Yr hen geir yn agoryd—i'r ieuainc
Reol ffydd a bywyd;
A'i gwyryfon geir hefyd
Efo 'u gwaith yn fyw i gyd.

I'w hanwyl Iôr rhydd Seion lân—ei chlodydd
Ueheledig allan,
Pan fyddo'r byd enbyd yn dân,
A dinystr dychrynllyd anian.

## GWEDDI.

TRWY enw Crist a'i rinwedd,—O, fy Ion,
Erfyniaf drugaredd;
Cymer fi, maddeu'm camwedd,
I ddal hwyl trag'wyddol hedd.

---

## ERFYNIAD MEWN ADDOLIAD.

DY wyneb er dywenydd—ini dod
Ein Duw mawr tragywydd,
Yn ysbryd y bywyd bydd
I'r annuwiol o'r newydd.

---

## CYFAILL CREFYDDOL MEWN ISELDER PROFIAD.

ER llwydaw gan drallodion—daearol,
Mewn dyrus ofalon,
Colli blas ar ras yr Ion—a welaf
Yn boen uchelaf i ben a chalon.

*Rhagfyr, 1877.*

---

## GALWAD Y SAINT ADREF.

DEDWYDD alwad y dydd olaf—i gyd
Ga' Saint y Goruchaf;
Hwn fydd eu dydd dedwyddaf,
A dydd hir o ddedwydd haf.

## Y BIBL.

Llyfr y gwawl, uwch llyfrau i gyd,—llusern
Holl oesoedd y cynfyd
Gair dwyfawl—Gair Duw hefyd,—
Sail dda goeth—sylwedd i gyd.

Trysor aneisor—aed dros 'r ynysoedd,
At genedlaethau, llwythau pell ieithoedd:
O! mor ddilewyrch yw myrdd o luoedd,
Un modd a'r anifail am Dduw'r nefoedd!
Ymdrechwn, gweithiwn ar g'oedd—ein gorau
I yru Biblau i bob rhyw bobloedd.

Gair Duw Iago a wna'r greadigaeth
Yn ail i Eden, yn olau odiaeth;
Dadwreiddia, tŷna Fahometaniaeth—
Chwilia i bob addysg—chwala Babyddiaeth;
Newid Iuddewon o'u du au-dduwiaeth,
Llu y pegynau—tywyll Baganiaeth;
Gwir ostwng holl anghristiaeth—teyrnasoedd,
I ddwyn y bydoedd i iawn wybodaeth!

Pan welodd yr Awdwr yr uchod mewn argraff, canfu fod gwall cynghaneddol (gwest-awdl) yn yr Englyn dechreuol, y llinell gyntaf o ba un, yn lle

"Llyfr y gwawl, uwch llyfrau i gyd,"

a amcanasai i fod fel hyn—

"Llyfr i bawb,—Llyfr llyfrau y byd."

Ar ol gweled y gwall, cyfansoddodd y tri Englyn canlynol:—

Diofal ydwyf, wael awdur;—rhuaw
Heb reol na mesur;
Brau asio geiriau 'n brysur,
I ddwyn bai ar y ddawn bur.

Er galar, mawr gywilydd—imi fyth
Am fod mor anghelfydd;
Gwrthun fai, a gwarth enw fydd
Ar wyneb yr awenydd.

Awen sydyn asiadau,—agored
I gerydd a gwallau;
Heb harddwch dirgelwch gwau
Godidog ehediadau.

---

## CAETHWASIAETH.

(A gyfansoddwyd wedi darllen "*Uncle Tom's Cabin*," gan Mrs. Harriet Beecher Stowe).

Mawr enill i'r Cymro uniaith—fyddai
Cael ei feddwl perffaith;
Ceir hwn yn llyfr cywrein-waith,
A natur oll trwy ei iaith.

Wele ddrych o feddylddrychau,—a gwir
Ragorol syniadau,
Mewn myrdd o ffyrdd yn coffâu
Am diroedd gorthrymderau.

Wele gedyrn amlygiadau—o lwyr
Alarus drwm ffeithiau—
O fflengyll ac erchyll iau,
Ac o dŷnion gadwynau.

A! dyna wyryf dynerol—yn llawn
O ddillyniant moesol,
Am oes mewn bro ormesol—yn buan
Weithio 'i hoes allan yn gaethes hollol.

O! drueni! gwraig dirionol—a'i phriod
Dan y ffrewyll swydol;
O! chwerw fyd carcharol—ddaeth i'w rhan;
Trist-wyled anian tros y teulu dynol.

Eu plant bach afiach hefyd—a werthid
I warth a chaledfyd;
Ond trwy gur aent i'r gweryd
O'u holl boen—cawsant well byd.

Dyma ddifrif brif brofion—o driniaeth,
O drueni'r Caethion:
O! 'r olwg ar wyr creulon—drwy'u gwledydd
Y codo cywilydd nes gwaedo 'u calon.

Ar fyrder torer pob tid,—darfydded
Y rhyfeddol ofid;
A'n byd croes heb loes, heb lid,
Fo drwyddo 'n fyd o ryddid.

Am dra uchel ymdrechion—o deimlad
Amlwg dros y Caethion,
Rhodded Iôr ei wedd dirion
Deiroes i'r Awdures hon.

A'i llaw dyner lledaenodd—wybodaeth,
A'r byd a gynhyrfodd;
Ei henw a'i pharch mewn hoff fodd
A'i thalent a fytholodd.

# AMRYWIAETHOL.

## AR ESGYNIAD Y FRENINES VICTORIA I ORSEDD PRYDAIN FAWR.

(Cyd-fuddugol).

Ti, Frydain eirian, wlad lân adlona,—
Wele 'n Banon ein tirion Victoria,
Sydd orieuengaidd i'r orsedd ddringa;
A! pawb o'r ynys bybyr o wena;
Hawddamawr iddi yma—medd y byd,
O un llais hefyd mae llys Jehofa.

Nid oes truenus dwrf dwys tarianau
Yma gan alon na swn magnelau;
Tarian llonyddwch trwy 'n holl aneddau,
Geir i'w hesgyniad o gariad gorau;
Ail i bur wawl y borau—y cododd,
Natur a wenodd,—dim swn taranau.

Ymerawdwyr y byd a'u mawrhydi
Enwog a roddant y goreu iddi;
Ei mawl a seinir am eluseni,
Mawr ddiddanwch, a myrdd o ddaioni:
Ynys gain Brydain mewn bri—gwyd er llâd
Mewn môr o gariad mae'n mawr ragori.

O bu 'i henafion yn benau ufydd,
A blodau cryfion i bleidiaw crefydd;

Hon saith cryfach amgenach am gynydd,
Lles dybenion, ewyllys da beunydd ;—
Gwalia fawr yn glau fydd—yn fwy moesawl,
A Lloegr annuwiawl oll geir o newydd.

Gem, doeth sail i Gymdeithasau helaeth,
Llawn eluseni—llênawl wasanaeth ;
Hil Owen Tudur, lān waed da odiaeth,
Drych yw i'r byd drwy wychr wybodaeth ;
Ugain mil o ganmolïaeth—gaiff yn hir,
Ei henw gerir tra awen ac araeth.

Dal gwir a moesau, dileu gormesiaeth,
Lleihau 'r gelynion yn llaw Rhagluniaeth ;
Gyru hyd eigion y grëadigaeth
Oleuni i ddeiliaid eilunaddoliaeth ;
Trefnu edyn Trafnidiaeth—ardaloedd,
A throi ynysoedd wneir drwy'i theyrnasiaeth

---

## I BONT ABERGLASLYN.

(Buddugol yn Eisteddfod Beddgelert, Ebrill, 1860).

Ar ddialgar hardd weilgi—dyma 'r bont
Mae 'r byd yn ei hoffi ;
A'r pysg llon sy 'n llwybro 'n lli
Y donawg Laslyn dani.

Creig serth a'u penau crog sydd—o'i hogylch
Yn digio 'r ystormydd ;
Tra hir dwrf rheiedr drwy 'r dydd
Yn galw ar eu gilydd.

Ar enau 'r ddwysir unawl—fe erys
Yn fawredd cofnodawl

Am ein myg dadau, mewn mawl,
Yn asio'r bryniau oesawl.

---

## A WNAED WRTH FYN'D HEIBIO I "BONT Y GWR DRWG," GER ABERYSTWYTH.

Wele bont uthrawl a bàn,—o ddyfais
Hen Ddiafol ei hunan;
Mae'n hawdd gwel'd nad 'menydd gwan
A'i lluniodd,—ond call anian.

Os efe a roddes fod—iddi gynt,
Fe haeddai gael mawrglod:
I wneyd hon onid hynod
Oedd i Ddiafl y fagddu ddod?

---

## BEDD GELERT.

Ar ol iddo ladd ar eiliad—y blaidd
Yn y blin amgylchiad,
Edifar oedd gwneud ei frad
Marwol drwy gamgymeriad.

Gwall dynol mewn gwylltineb—dwyn Gelert
Dan geulan marwoldeb;
Yn un oes ni fu i neb
Gi llawnach o gallineb.

J

O Fedd Gelert ei fuddugoliaeth—droes
Iddo draw 'n farwolaeth,
Dyg y ffol gamsyniol saeth
I Lywelyn wyl alaeth.

Tarian i faban fu o—ei gryf lid
Gai arw flaidd deimlo!
Braw oedd ei ladd a'i briddo
Yn wyl drwy'r camsyniol dro.

---

## SYR W. W. WYNN, LLYWYDD EISTEDDFOD Y BALA, 1836.

SYR WATKIN iesin oesydd,—WILLIAMS WYNN,
Cwlwm serch y gwledydd,
Glyw ban ein gwyliau beunydd,
A glain yr oes galon rydd.

Ifor,—braint y fro a 'i bri,—a gwron
Gwladgarawl i 'w noddi,
Byw urdduniant barddoni
A thwr ein iaith eirian ni.

Paen goludog, pen gwledydd,—a cholofn
Uchelawg ein bröydd;
Hen filwr anhefelydd,
Mawr ei rwysg dros Gymru rydd.

Mewn urdd nod ei glod gwiw a glan—a 'i barch
Drwy y byd yn gyfan
A bery tra bo eirian
Haul y dydd yn oleu dân.

## YMADAWIAD SYR W. W. WYNN O'R EISTEDDFOD.

YMA i 'n Glyw mewn gwyl lawen—taler
Teilwng ddiolch addien;
Mur a gwawl y Gymraeg wen,
A bywyd holl feib awen.

Iddo bo hedd a bywyd—hardd addien,
A hir ddyddiau hefyd,
I lanio ar ol enyd
Uwch y gwae a'r och i gyd.

---

## LLYN TEGID.

LLYN ban i seirian bleseru,—llenyrch
Meillionawg o'i ddeutu,—
Myrdd o adar cerddgar cu
Uwch ei ben sy'n chwibanu.

A'i oludawg waelodion—o'i fawr rin
Mae'n fri i fro Meirion;
Moria bychain a mawrion
Ddifyr daith ar ddwfr ei dòn.

I'w difyru caed i Fawrion—lwyswych
Lysoedd hyd ei finion,
Er gweled môr gwlad Meirion,
A nofio 'i li mewn nwyf lon.

Llyn tra maith hirfaith o hyd,—a llydan
Droelledig wynebpryd;
Didwyll y gellir d'wedyd
Wele 'n ben lynau y byd.

## ANERCHIAD I MISS MADDOCKS AR EI DYFODIAD I'W HOED.

*(Buddugol).*

WELE bur wawl y borau,—dydd eirian
Dyddorol i'n parthau;
Gwir Aeres ein gororau
Yn llawn oed—boed llawenhau.

Hoenuswch fryniau oesawl,—chwi faesydd
Rho'wch fiwsig serch hudawl,
A'n doniau fo'n dân o fawl
I'n harglwyddes ryglyddawl.

Iachusol fun, merch sylfeinydd—ein tref,
Ein trafod a'n gweithydd;
Amledd serch mawl iddi sydd
Ar gân yn myn'd ar gynydd.

Yr holl faneri allan—a welir—
Twrf magnelau 'n mhobman;
Bywiog yw holl feib y gân,
A'u seiniau'n goglais anian.

Gwledd o arfoll, gwyl ddirfawr—geir heddyw
I bob gradd drwy'r orawr;
Pob calon sy'n neidio 'n awr,
I'r hardd Em rhoi'r hawddamawr.

Trefmadog enwog yn ei chynydd—sy'n
Seiniau llawn llawenydd;
Difyr sain clodfori sydd
Trwy fynwes tir Eifionydd.

Ei thad goruchelwerth ydoedd,—awdwr
Rhyfeddodau'r oesoedd;

Rhyw wyrth o fri werthfawr oedd
Mawr darian ein mordiroedd.

Lle bu rhawg ferwawg foroedd—mae llenyrch
Meillionawg borfaoedd
Yn gôf o'n gwron ar g'oedd
Wnaeth fywiolíaeth i filoedd.

Caed difyr wyl cyd-fawrhau—ei Aeres
Sy'n awr yn ei blodau;
Llu y Porth a phell barthau
Oll yn un sy'n llawenhau.

ELISA ANN! ei mawl sydd—yn adsain
Mewn cydserch drwy'n broydd;
Ein gwlad oll fel goleu dydd
A lanwyd o lawenydd.

Doed i wlad ei threfdadaeth,—caiff ffyniant,
Caiff enwog ddyrchafiaeth;
Muriau a thrin môr a thraeth,
Can adlwydd i'n cenedlaeth.

Ar ei heiddaw a'i thoddion—pob bendith,
Pob undeb yr awron,
Pob mwynhad o rad yr Ion
Trwy ffyniant i'r hoff Fanon.

---

## AR DDYFODIAD T. E. M. LL. MOSTYN, YSW., I'W OED, IONAWR, 1851.

HA! foreu adeg hyfrydawl—o wir
Ddyddoriant mawreddawl;
Dydd o lawenydd unawl
I'n bro gu mewn bri a gwawl.

Gwynedd fo'n serchawg enyn—ei hawen,
Chwareued pob telyn,—
Gwir rymusdeg Aer Mostyn
Yn llawn oed, boed llawen hyn.

Gwr haeddawl o deg wreiddyn,—haelionus
Linach uchel Mostyn;
Heddyw 'n mhob tŷ a thyddyn
Mae bywyd ail yn mhob dyn.

Mwyn dônau mewn dywenydd—a swynawl
Seinir drwy'r holl fröydd;
A phob mâd groesawiad sydd
I'n gwladwr llawn ei glodydd.

Y benyr chwyfiawg bànawl—orhoiant,—
Rhua'r megnyl nerthawl;
Holl fawredd Cymru 'n unawl
Sy'n derbyn Mostyn mewn mawl.

Ar fynwes gynes Gwynedd—hir oesed
Mewn gras a thangnefedd;
Ac yn ei holl ogonedd
Ei Dduw a'i wlad fyddo 'i wledd.

---

## CYFLWYNEDIG I ARGLWYDDES HALL.

Bu'r awen mewn rhwysg borëol—ganwaith
A'i gwyneb yn siriol,
Wrth fwynhau rhadau rheidiol
Gwleddau serch Arglwyddes Hall.

Rhoddi gwresawg hardd groeso—yn ei llys
Mae'n llon i bob Cymro;
Ei gu wlad a'i iaith hyglod o
Iddi sydd yn ddewis eiddo.

Ofyddes uchel foddau—yw'n anwyl
Gan Wynedd a Dehau;
Gan Awdwyr pybyr pob pau
Adwaenir gwerth ei doniau.

Os gwelir eisiau Ysgolion
I gael lles a goleu llon,
Ac eisiau doniau a dysg
I roddi gwerthfawr addysg;
Neu os oes eisiau lleshau
Doeth iesin gymdeithasau,
Neu ro'i eiddo a rhoddion
A thir at wasanaeth Ion,
Gwenynen Gwent gawn yno 'n gyntaf
Oll i'w wneud yn llaw ei Naf;
Hi yn benaf a gawn beunydd
Yn rho'i ei haur â chalon rydd.

Un oleu synwyr yw 'n llawn eluseni,
Yn dileu adwyth a phob dwfn dylodi;
Drwy fri olynol ei dirfawr haelioni
Gwywa 'i thirionwch bob gwae a thrueni;
A phwy o uwch rhinwedd gaiff ei choroni
Gan feirddion, llenyddion, am eu llawn noddi?
A'i Phriod hyglod caed hi—nawdd cysgodol
Eu Hïor dewisol i gyd hyfryd oesi.

Am eu rhoddion mawreddawl,—a'u huchel
Ymdrechion gwladgarawl,
A chywair mwyn chwareu 'u mawl—bo'r delyn bêr
Yn llys Llanofer fel lleisiau llu nefawl.

## ANERCHIAD I D. WILLIAMS, YSW., A.S., CASTELL DEUDRAETH.

DIWYDRWYDD gwr Castell Deudraeth—a'i fri
Fawrheir gan ddynoliaeth;
Tori iau drom Toriaeth—wnaeth bob cam;
Rhyfeddu Gwalia mae'r fuddugoliaeth.

Gwir deimlad y wlad ymledodd,—ac mor deg
Am wr doeth ymdrechodd;
Yn gyfaill dyn iawn a gafodd,
Dyna werth byd—dyn wrth ei bodd.

A chwlwm serch WILLIAMS yw—ein haddas
Foneddwr diledryw:
A'i gynes fynwes sy'n fyw
Am ryddid Cymru heddyw.

Iawnderau 'i wlad drwy law Ion—a nodda
Yn Seneddwr ffyddlon;
Tŷr rwymau 'n beichiau trymion,—ac o'r tir
Ein gormes yrir drwy 'n grymus wron.

Ei law wna lu o newydd—yn fendith
Mewn cryf undeb beunydd;
Ardderchog Farchog a fydd
Yn mro enwog Meirionydd.

Yn uwch yr â masnach rydd,—hyrwyddir
Addysg, a gwir grefydd;
Ail wanwyn o lawenydd—wawria 'n llon,
Cawn aur a chalon ein cynrychiolydd.

Boneddwr yw 'n byw 'n haeddawl,—hir a fo 'i
Dêr fywyd defnyddiawl;
Caiff y D●laeth helaeth hawl
Drwy ei nodded rhinweddawl.

Ei wasanaeth yn y Senedd—a'i lwydd
Rydd i'r wlad anrhydedd;
Yna drwy lawnder a hedd—daw 'n gyson
Faith elw i Feirion o fythol fawredd.

---

## I MASTER HUGHES *(Blegywryd ap Seisyllt).*

BACHGEN bach uwch bechgyn byd,—rhyfeddod
Hir fydd ef i'r hollfyd;
Ni bu, ni ddaw neb na ddyd—
Y goron i Blegywryd.

Nefawl leisia 'n felysig,—a seinia
Gysonwawd plethedig;
Trwy ei fysedd tŷr fiwsig,
Hynawd gainc uwch ednod gwig.

Duw yn y bru dawn wiwber roes—iddo
Yn addurn i'w einioes;
Perorydd gwych pur eirioes
O Gymro yw,—Gem yr oes.

Dwylaw angel i odli engur—fawl
A fedd, a dawn natur;
Chwery 'i law bach reol bur
Pibau miwsig pob mesur.

## I LOVE JONES PARRY, YSWAIN., MADRYN.

PARRY fwyn o'n prif fonedd—a gerir
Am wladgarol rinwedd;
A PHARRY mewn dawn a phuredd—er mawl
Yw'n hawdr swynawl, a'n dyn da i'r Senedd.

Mewn hardd wasanaeth, mewn urddas union,
A rhagddo i wirio ei egwyddorion;
Ei iaith, ei wlad, ac iawnder i'w thlodion
Dania i'r gwaelod ei dyner galon;
A saif er treiswyr gorbwysfawr trawsion
Yn nerth a chysur llawn wrth achosion;
A'i law dirf dros wlad Arfon—deil er llid
Dan faner rhyddid, yn fyw 'n ei roddion.

Drwy ei glodus dreigliadau—noddi mae
Rinwedd, moes, a doniau:
Yma'n hir y bo'n mwynhau
Bri dedwydd bro ei dadau.

---

## ODYDDION.

HYFRYDWCH ini frodyr—ys WILLIAMS
A HOLLAND yw'n pleidwyr,
Pwy gawn eu gwell—pigion gwyr,
A goludog hael wladwyr.

Byddwn selog galonog eleni,
Ein hardd wasanaeth sy'n urddas ini;
Wele ffyddlon foneddion i'n noddi,
O hyd eu hanian yw gwneud daioni;

Aelodau nerthawl mygedawl am godi
Ein Hurdd haelionus i'w hardd oleuni;
Awn y'mlaen gan ymloni—gyda'n gwaith,
A boed ein heffaith i'r byd i'n hoffi.

Daw y byd i wybodaeth—mwy unol
Am anian Odyddiaeth;
O'i du niwl daw dynoliaeth—i fynu
Yn hyfryd deulu yn y frawdoliaeth.

Glynwn heb ddigaloni—â'n doethaf
Gymdeithas uchel fri;
Gyda 'i nôd ymgadwn ni
Rhag i eraill ragori.

Tra bo haul araul eirian—a dynion
Hyd wyneb pedryfan,
Bydded mawr lwydd rhwydd i'n rhan
Yn hollol o hyn allan.

---

## AR OL ETHOLIAD 1874.

Gu odidog Geidwadaeth,—y gadwyn
Gydiol i'n llywodraeth;
Mawredd hon i Gymru ddaeth
Yn binacl annibyniaeth.

---

## ENGLYNION MEWN ATEBIAD I MR. JOHN EDWARDS (*Meiriadogyn*).

A RHOI iawn farn arnaf fi,—un dwl wyf
A wna dlawd farddoni;
Awen chwêg sy' genych chwi,
Ac iaith addien goeth iddi.

Anwyl-fardd a mwyn elfen—i fydru
Mor fedrus yn fachgen;
Tra nerthawl o'ch barddawl ben
Y rhed hoew ffrwd awen.

Yr hen wiw ORONWY OWEN—wyrodd
I'r farwol ddaearen;
Yn ei le yn haul awen
I loewi beirdd, wele ben.

Diwydrwydd mewn da oedran—rydd enaid
I farddonawl anian;
Ymarfer goleuder glân
O'i du gell a'i dwg allan.

Enhuddwyd y ddawn addien—trwy'n codwm
Trancedig yn Eden;
Yna llafur pur y pen
Rydd fywyd i reddf awen.

Difyr beth hyd fôr y byd,—a'i auaf,
Ydyw awen hyfryd;
A'i thirionwch uthr enyd
Y gauaf fydd haf o hyd.

Nid ynfyd ydyw anfon—i'n gilydd
Mewn goleu anerchion,—
Er ein lles rho'wn eiriau 'n llon
I'n gilydd o un galon.

Awn ar fŷr iawn o'r fèr oes—i hunaw,
A'n henaid i eiloes;
Llafuriwn drwy'n holl fèroes,
A mwyn gred am Iawn y Groes.

Byw mewn bai ym yn y byd,—gwae arnom
Fod gwyrni 'n ein bywyd;
Elfen ein hawen o hyd
Fo hoewfro y Nef hyfryd.

Harddwaith y dwyfawl feirddion—yn desawg
Gwyd isel feddylion
Goruwch holl gerth drafferthion
Addoer hynt y ddaear hon.

Heinyf eiliaw mewn nefolwedd—wna fardd
Yn fwy mewn anrhydedd,—
Duwiol-fardd yn y dylfedd
Hoff gofir yn hir mewn hedd.

Mal Awdwyr canmoladwy,—yn gefnawg
Nac ofnwn ryferthwy;
Ceisiwn hynod fod yn fwy
O'r haner na GORONWY.

Llwydd, iechyd, o hyd a hedd,—fo ichwi,
Naf uchod i'ch arwedd,
A nef wen a fo anedd
I chwi byth goruwch y bedd.

*Ebrill 16eg, 1835.*

## ENGLYNION CYMWYS I'R SAWL Y PERTHYNANT IDDO.

O FLAEN eingion mae'n flin angall—gurwr,
A'i goryn diddeall:
Beth yw'r penbwl dwl a dall
Afrosgo digyfrwysgall?

Rhy rydd ei fenydd yw fo,—er heriaw,
Rhy wirion i weithio;
Ni fu un brwnt o fewn bro
Ei salach,—gwnaed noswylio.

Ni fedr Wil ond rhywfudr waith,—a'i ddwylaw
Yn ddilun anmherffaith;
Ni wna'r llymgi chwiwgi chwaith
Un gronyn o gywreinwaith.

Diau baban ydyw heb wybod—dim,
Ond doeth ar ei dafod,—
Nid yw neb yn adnabod
Un mwy ei glul am ei glod.

Un dau eiriog, a di arian—o lin,
A'i lonaid o hunan;
Yn mhob sut mab i Satan
Ydyw'r gwr—greadur gwan.

Lluman dig, i'n lle mae'n d'od—yn fynych,
Fe enyn anghydfod;
Lob penaf, bawaf, mewn bod
Ydyw Wil, a diwaelod.

Mal cyffcler bwngler sur benglog,—hen ffwl,
Mae'n ffals a chelwyddog;
Ail yw hwn, yr annwn rôg,
I Nabal ddau wynebog.

Hen ddrygwr cynddeiriogwyllt,—hynotaf
O natur ffyrnig wyllt;
A hen asyn anesyllt
Aeth o'i gôf yn eitha' gwyllt.

Ys ni fu is y Nef wen—ei arwach
Am yru rhai 'n benben;
Canwaith bu'n achos cynen,
E' dŷn y byd yn ei ben.

Hen ddyhiryn llawn cynddaredd,—a chroes
Echrysawl ei osgedd;
Afanc rheibus, wancus wedd,
A dŷn ddyn dan ei ddanedd!

---

## FY NGWLAD.

Mae r awen fwyn yn Nghymru'n fyw,—a'n hiaith hoff
Yn ei theg urddas heddyw;
Hen wlad y gân oludog yw,
A bro ddedwydd y beirdd ydyw.

---

## I "FLODAU ARFON."

WELE dirf "Flodau Arfon,"—a sywiol
Bwysïau aml liwion;
Iachus bersawrus aeron—fydd bythawl
I'r oesau 'n siriawl, mal rhosyn Saron!

Dyma fawredd byd y myfyrion,—prif
Faen prawf y prydyddion;
Drych o astud orchestion—o'r newydd,
A gemau Dafydd o gwmwd Eifion.

---

## "GEIRIONYDD."

Os yw gwir addysg eirian,—a dawn bêr,
Yn dwyn Bardd mawr allan,
Wele wledd i Walia lân
O law 'r anfarwol IEUAN.

---

## WRTH DDYCHWELYD "COLL GWYNFA" I ELLIS OWEN, CEFN Y MEUSYDD.

COFION am FILTON a fydd—tra byw sant,
Tra bo sêr ysplenydd;
Iawn folawd anhefelydd,
Yn addas iawn iddo sydd.

Iawn ddeall rhinweddau awen—nid wyf
Onid ail i fachgen;
Heb iaith fau na llyfrau llên,
Na meddwl cyflym addien.

Er cais, nis treiddiais i trwy—rhyw ddu fôr
Idd "Y Farn" ofnadwy,
Ond amser i 'marfer mwy
Grëai ynof ddawn G'RONWY.

Diffrwyth, anystwyth yn oestad—fy nawn,
Heb fyw nerth mewn caniad,
Oddieithr modd, Athraw mad,
Ni fedraf wneud iawn fydriad.

'Herwydd amserau byrion—i adrodd
A mydru caneuon,
Gwaelaidd, a thra digalon
Wyf o hyd yn y Dref hon.

Wele, ffraeth araeth eirian—ni fedraf
Fi fydru 'n deg weithian;
Ond ynwyf na fid anian
I benffol, wageddol gân.

---

## TALHAIARN.

(Yr oedd TALHAIARN yn ymgeisydd ar destyn y Gadair—"Y Greadigaeth"—yn Eisteddfod Aberffraw, 1849. Yr oedd tua haner ei Awdl yn ddisgrifiad o Efa, yr hyn a achosodd cyfansoddi yr Englyniou canlynol).

TALHAIARN gadarn ei geudod,—diau
Sy'n deall cerdd dafod;
I Efa glws rho'i ef glod—
Efa oedd ei ryfeddod.

Mesurai fal chwim Saeryn—hi'n sywdeg,
O'i sawdyl i'w choryn;
A'i gwir rinwedd bob gronyn
Bwysai ef, bu eisiau hyn.

Ond gwylaidd ferched Gwalia—a goeliant
Gyda'u gilydd yma,
Ei fod ef yn ei fyd da
'N rhy nwyfus wrth drin Efa.

Rhaid oedd ei hanrhydeddu—uwch eraill,
Chwarae teg i'w ganu:
Yn eigion ei galon gu
Cariad oedd yn cordeddu.

Ei grudd hygar oedd ddigon—i'w swyno
Nes enill ei galon;
Na fu 'n un wlad feinwen lon,
Glysach, a'i llygaid gleision.

Ystyried a thosturio—yn ddilys
Ddylent hwy, a chwilio
Am wraig ddèl i'w arddel o,
Foddus fal Efa iddo.

O! na b'ai un iddo yn bod,—mae'n llanc
Mewn llon agwedd barod;
Byd da 'n llawn bwyd a diod—
Arian ac aur yn ei gôd.

Atal TAL rhag gwamalrwydd—oedd anhawdd,
Mae'n ddyn o hynodrwydd:
Myfyriai am Efa, rwydd,
A breuddwydiai 'n bur ddedwydd.

Adwedd hyfryd i'w ddwyfron—yn gyfan,
Gafodd lawer noson,
Pan f'ai ysbryd hyfryd hon
Ger ei liwgar olygon.

Daliai sylw ar dlysolion—anian
Yn ei holl amrywion;
Ond Aeres Eden, dirion,
Oedd yn wledd i'w awen lon.

Ymlenwodd i'w molianu—â chain serch
Nes oedd beirdd yn gwenu,
Wrth wel'd bardd, llonfardd pob llu,
Gwedi 'i iawn lygad dynu!

Hyd ei dyddyn d'wedai i Adda—neidio 'n
Nwydwyllt ac ysmala,
Megis cawr mewn blinfawr bla
Yn ymofyn am Efa.

Gwae mwy i'w Feirniaid gamfarnu—ei waith,
Pwy byth wnai brydyddu?
Am fod gydag Efa gu,
Garw oedd ei geryddu!

Pa fardd coeth a doeth fendithir—benaf,
Pwy bynag ganmolir
Am odlau heirdd,—mae Awdl hir
Bardd Efa yn bur ddyfir.

Er storm "NICANDER" a'i stwr,—a moliant
"MEILIR," ac "ADDOLWR,"
Trwy eu gwaith nid yw'r tri gwr
Werth nodwydd wrth ein Hawdwr.

Dïatal y daw eto—i Ruddlan,
Yn arweiddlwys Gymro;
O'i ogoniant teg yno,
Rhydd iawn brawf i feirdd ein bro.

Esgyna mewn rhwysg union—i'r gadair,
Gwedi trechu'r pigion:
Oferedd mwy i feirdd Môn
Fyth heriaw y fath wron.

---

## EISTEDDFOD PORTHMADOG, 1851.

Cadeiriad Gwilym Hiraethog am awdl "Heddwch."

Heddyw ymlonwn, "Hedd Molwynog"—godwyd
I Gadair Porthmadog;
Dyn o lin doniol enwog,—un gydred
A Thudur Aled goeth awdwr heulog.

Dyma Rees wedi ymryson,—a gwelodd
Fuddugoliaeth gyfion;
Llawn arwydd i'n llenorion—heddyw roes
Yn ddinam eirioes o'i ddoniau mawrion.

Ein daear bellach a gaiff ei darbwyllo
O'i chaeth gamsyniaeth i'w chymwys uno,—
Son am ryfeloedd, a swn ymrafaelio
O fewn y byd ddaw yn fuan i beidio;
Daw irdeg wanwyn, daw yr adeg hòno
Y chwery natur dan ei choron eto;
Daw iraidd ddolydd pob gwlad i hardd ddeilio,
A nefol dywydd i'w cyflawn flodeuo,

A daw y ffrithoedd i orhyfryd ffrwytho,
A geirdd llysieuawg, rhosynawg i'n swyno;
Daw 'n haddien fyd yn eiddo—i Dduwies Hedd,
A'i gwiw addurnedd yn dragywydd arno.

---

## AR ESGYNIAD EBEN FARDD I GADAIR POWYS.

EBEN FARDD i'w benaf urddiant—ddyrchodd
Mewn ardderchog foliant;
Mawl iddo am ei lwyddiant,
Berwodd serch bob bardd a sant.

Yn Mhowys grym ei awen—a'i oleu
Welwyd pan yn fachgen;
A rhoi 'i wawl fel yr heulwen
Wnaeth i ni pan aeth yn hen.

Gwir fywyd ei gref awen—a daniodd
Bob dyn yn Llangollen;
Dyna fardd—mae dawn nef wen
I'w adnabod yn EBEN.

Yn ei faith gampwaith i gyd—dyunwyd
Anian a chelfyddyd:
Safodd, ac erys hefyd
Yn feistr beirdd, yn fost i'r byd.

---

## NATUR DDA.

NATUR dda a esyd hardd wedd—ar ddyn,
Egyr ddôr anrhydedd;

Siriol darianol rinwedd
Yw er mawl i'r rhai a'i medd.

Dyma enaid amynedd,—a duwies
Flodeuog tangnefedd;
Mae 'i byw wenau 'n mhob annedd
Yn creu hoen,—mae'n caru hedd.

Lladd llid ac ymlid pob câs—wna o bawb,
Mae'n berl mewn cymdeithas;
Ac arddull teg o urddas,
Rydd iawn drefn ar ddyn di ras.

Ei gwedd lon a guddia lu—o feiau,
Mae'n fywyd a gallu;
Tawelwch i bob teulu
Ddaw o'i gwên nefolaidd gu.

---

## BYRFYFYR

Wrth wrando ar ddau yn taeru.

ANNATURIOL iawn yw taeru—er dim,
I'r dymer gynhyrfu;
Ond siarad mewn cariad cu
Y dylech fel mwyn deulu.

---

## YR HEN LANC.

YN ei agwedd unigol,—ac isel,
Heb gysur teuluol,
A oes un mor resynol
A'r Hen Lanc drwy 'i wirion lol?

Un diobaith, drwgdybiol,—o feddwl
Anfoddog hunanol,
Na fydd ar ei fedd hwyrol
Gan yr un gŵyn ar ei ol.

A'i da i'r Hen Lanc dirinwedd—yw byw
A bod mewn unigedd,
Yn llawn gwae mewn llun a gwedd,
Yn golofn diymgeledd?

Ow! ni fedd ef neb i'w foddio,—na neb
A wna gydymdeimlo,
Na thylwyth chwaith i wylo
Ar ei fedd byth er a fo.

---

## ARALL I'R HEN LANC.

(Pan mewn tymer wahanol).

DYMA Hen Lanc dymunol wedd,—a dyn
Daionus llawn rhinwedd,—
Dyn iawn yn llawn dillynwedd:
Gwyn ei fyd, un wraig ni fedd!

---

## YR AMAETHYDD.

*(Buddugol).*

PRYSUR ddarparu'r puryd,—a'r moethau,
Mae'r Amaethydd diwyd;
Heb ei ofal byw hefyd—
Oll gan boen llewygai'n byd.

## YR WYDD DEW.

*(Buddugol).*

DIDWYLL blu da, nodedig,—ini ro'ir
Gan yr Wydd dew, bwysig;
Ac yn ei chwaeth cawn ei chig,
Yn deilwng wledd Nadolig.

---

## Y LLWYNOG.

LLYM redwr, lliw marwydos,—yw Llwynog,
Llòna pan ddaw'r cyfnos;
Gwalch tew 'n amgylchu teios,
I ddwyn ieir berfedd y nôs.

A'r nôs yn mhell dros ffosydd,
'Nol llunio 'i dwyll yn y dydd;
Yna trydd i'r creigydd crôg
I drin ei waith lladronog.

---

## AR FLWCH TREWLWCH.

I DDYN a gâr ddyddanwch—am hiroes,
Cymered o'r trewlwch;
Natur i'w lle, trwy y llwch,
Adferir er difyrwch.

## PERORIAETH.

MWYNDER wna'r dymer yn dân,—neu delyn
Yn hudoli anian;
Awen o lŷs y nef lân,—neu dduwies
Fwyn swyna fynwes y nef ei hunan.

---

## GOLYGFA O BEN MOEL Y GEST.

TANWYF mae dyffryn tyner,—llwyni teg
Yn llawn twf ac irder;
Mynyddoedd luoedd lawer
O'm deutu 'n cusanu'r sêr.

---

## Y WENOL.

O WLAD bell o wel'd y byd—i'n hynys
Y daw'r Wenol ddiwyd;
Gofwyes wibiog fywyd
Yw, a'i hoes yn haf o hyd.

Ymlona yn nheml anian,—a dibaid
'Hed heibio fel trydan,
A'i dyddiol hoffder diddan
Yw bod y'mysg gwybed mân.

---

## Y LLENLEIDR.

Y CYFAILL mwy cofia—i fywyd dyn,
Fod deddf—"na ladratta;"

Chwiw lwynog yn chwilena,
Newid dy ddull—nid yw dda.

Na ddyged mwy, mwy 'n un man—i'w foddio,
Ddrychfeddwl na chyngan;
Yn onest bo 'n ei anian—i dalgryf
Rodio 'n heinyf ar ei wadnau 'i hunan.

---

## Y GWENIEITHWR.

O! WENIEITHUS ddyn nwythol,—mae 'i wyneb
Fel ymenyn toddol;
A môr o hylif marwol
Yn ei gudd wenwynig gol.

I'w fwyneiddiol brif noddwr,—yn ei dwyll
A'i wên deg, try 'n fradwr;
Gan ei waith fel gwenieithwr
Mae braw a gwae 'n mhob rhyw gwr.

Brigol sarff beryglus yw,—rhagrithiwr
Drwg i'r eithaf ydyw,
A nyth i bob gweniaith byw
Hyd astrus lwybrau distryw.

---

## Y WAWR.

BLAENREDYDD y belen rodawl—yw'r wawr,
O'r oror ddwyreiniawl;
Allwedd i gudd gelloedd gwawl,
Yn agor dydd 'chwanegawl.

## I'R CRYDD.

*(Buddugol).*

DEALLUS weithiwr dillyn,—ac enwog
Yw'r crydd gonest dichlyn,
A'i wledd yw cael drwy'r flwyddyn
Dâl da am bedoli dyn.

---

## Y DDAFAD.

*(Buddugol).*

TROI'R gwlan, croen llydan, a llaeth—y Ddafad
I ddifyr wasanaeth;
A cholofn masnach helaeth
Ydyw ei chig da ei chwaeth.

---

## Y CWMWL.

*(Buddugol).*

MYG-DAWCH byw'n ymgodi uwch ben,—o'r môr
A'r tir maith, i'r wybren;
Llong y gwlaw yn nofiaw'r nen,
A'i hwyliau 'n cuddio'r heulwen.

---

## Y DARAN.

ENNYNIAD fry yn anian—o orlawn
Awyrlif a gwefrdan,
A thrwst 'rhuthriad tŷniad tân
Drwy y dŵr ydyw'r daran.

## I DR. ROBERTS, PORTHMADOG, AR ADFERIAD YR AWDWR I'W IECHYD.

AT ei swydd ROBERTS yw—y gwiw feddyg
O fudd i ddynolryw;
Drwy 'i rinwedd dygodd heddyw
Yr hen fardd o farw 'n fyw.

*Tachwedd 23ain, 1871.*

---

## Y PARCH. THOMAS AUBREY.

DYN yw AUBREY dania y wybren,—a'i ddawn
Rydd yni 'n mhob elfen;
Fe leda 'i ddwyfol aden—
'Hed yn fyw hyd y nef wen.

---

## Y PARCH. L. PROBERT, PORTHMADOG.

GWEINIDOG enwog, unawl,—pur, hybarch,
Yw ein PROBERT ddoniawl;
A thiroedd ysgrythyrawl
Rodia 'fe er Duw a'i fawl.

---

## I MR. EDWARD HUMPHREYS, YNYS WEN.

RHYW hen sant yn yr Ynys Wen—ydyw
EDWARD HUMPHREYS lawen;
Dyn deallus bwyllus ben,
Da, gonest, a digynen.

## I MISS MARY DAVIES (*Mair Eifion*), PORTHMADOG.

EIN MAIR bert yn moreu 'i byd—yw'r eneth
  Dirionaf ei hysbryd;
A dyma ferch dda ddiwyd,
Lon ei bron, a glân o bryd.

---

## I MAIR EIFION,

Ar ei llwyddiant llenyddol yn Soar, Talsarnau, Pasg 1877.

Llaw MARY fu 'n enill mawredd,—a chlod
  Uwchlaw merched Gwynedd;
Boreu 'i heinioes byw rinwedd
Awen fwyn i'n swyno fedd.

Arbenig ddawn a dderbyniodd,—talent
  Oleu 'i hen daid gafodd;
At wraidd ei thestyn treiddiodd,—
Rho'i waith yn bur wrth ein bodd.

---

## I MR. W. ROBERTS (*Gwilym Eryri*),

Ar ei esgyniad i Gadair Eisteddfod Genedlaethol Caernarfon, 1877.

HA! fy nghâr, a fy nghoron—yw GWILYM,
  Brif-fardd Gwalia 'n gyfion;
Wele wir farddol wron
I ereshau yr oes hon.

Trwy 'i ddawn "Ieuenctid" hardd wedd—eglurai
Ar glawr y gwirionedd;
Pwy yn Nghymru 'n fwy a fedd
Eang enaid cynghanedd?

---

## GALWAD I'R AWEN.

Fal ëos, nefawl awen—iawn eilia
Fanylwaith goraddien;
O'th waelfyd c'od i'th elfen,
O'r llaid dyro naid i'r nen.

---

## HIRHOEDLEDD AWEN.

Diwedd y byd a ddaw i ben,—a daw
Diwedd ar bob dyben;
Ond ewybr enaid Awen
Bery'n fyw tra bo'r nef wen.

---

## Y BARDD TUDWAL.

Tudwal yn ngwlad ein tadau—adwaenir
Fel dyn o rinweddau;
Bardd enwog o bur ddoniau
Yr awen wir i'w hiawn wau.

---

## I MR. G. GRIFFITHS, LLUNDAIN,

**Pan wobrwywyd ef am y Traethawd Buddugol ar "Fywyd ac Athrylith Caledfryn," yn Eisteddfod Genedlaethol Caernarfon, 1877.**

I FY nai addfwyn ei wedd,—wr haeddol,
Y rhoddaf anrhydedd;
Ganddo 'n iawn cefais lawn wledd
Trwy ei waith têr a'i ieithwedd.

I'n gwlad oll goleu dillyn—ro'i efe
Ar fywyd CALEDFRYN:
Mawrygaf ef yn mrigyn
Ei siriol oes ar ol hyn.

---

## I DEWI RHAGFYR, TOWYN.

DEWI anwyl, dywenydd—yw genyf
Wel'd dy ganu celfydd;
I'r Ion roes yr awen rydd
Rho ogoniant ar gynydd.

Am fawredd Duw myfyria,—ac na wna
Ganeuon ysmala;
Ceisia hyn—byw 'n ddichlyn, dda,
Hyd derfyn pen dy yrfa.

---

## I MR. D. T. LEWIS, GOF, TALSARNAU.

PUR a chyfiawn yw parch i Ofaint,—dynion
Daionus a chywraint;
Gwŷr o fri mewn gweithgar fraint,
Yn heinyf yn eu henaint.

## I MR. ELLIS ROBERTS *(Eos Meirion)*.

**Telynor Tywysog Cymru.**

Am hiroes Eos Meirion—a fyddo
I foddiaw plant dynion;
Hyfryd yw—ei ddifyr dôn
Gerir gan deulu'r goron.

Mawr enw i blant Meirionydd—a roi'r
Mewn rhwysg dirfawr beunydd;
Mawr fawl gan bob Cymro fydd—yn aros
I'w rhywiog Eos yn dragywydd.

---

## I MR. JOHN LEWIS, BLOCKMAKER PORTHMADOG.

Yn ei ddawn cawn ddywenydd,—yn ei waith
Cawn wel'd dwylaw celfydd;
A'i lifeiriol leferydd
O'i fin red fel afon rydd.

Am hwylio 'i gwch fe'i molir;—efo 'i wn
Mae 'n fanwl a chywir;
Un o'i ail byth ni welir
Yn taro tân trwy y tir.

Y llwynog call a hynod—i'w ddaear
Ni ddianc o'i wyddfod;
Mewn pant a bryn fe fŷn fod
Yn angeu i'r cwningod.

## SCHOONER "LUCY," CAPT. E. ROBERTS, PORTHMADOG.

ER rhuaw o oreuon—a siarad
Seiri llongau Arfon,
A phrawf teg rhydd ffurfiad hon—gampwri
I naw o'n seiri yn oes wyrion.

Ei buander ar grib y wèndòn—sy'n
Synu pysg yr eigion,—
Rhyw ddelw hardd ddiail yw hon,
A chastell y gorchestion.

---

## ANERCHIAD I MRS. THOMAS, "PRINCE OF WALES," INN, PORTHMADOG.

GWRAIG gall a chywir mewn gwir ragorion,
A mwyn ystyriaeth drwy 'i mynwes dirion;—
Mwynhau 'i hiachus, ber-sawrus gysuron
Wna'r anghenus a'r gwylofus gleifion;
Mae'n gwisgo rhyddid—mae'n gwasgar rhoddion,
I noddi beunydd bob iawn ddybenion;
Dan yr iau caed wenau'r Ion,—i fawrhau
Ei eiriau golau yn bur o galon.

---

## AR BRIODAS

Y Cadben DAVID ROBERTS, o'r Llong "Sydney," o Borthmadog, â CATHERINE, merch Mr. HENRY JONES, Porthmadog.

DEUODD llewyrch dydd llawen—i ROBERTS,
Wr hybarch, a'i gangen;

Cafodd o lesol asen
O ras ein Ior is y nen.

Dwy galon gyda'u gilydd—a unwyd
Mewn anwyl lawenydd;
Rhyw gysur difesur fydd
Dan awel y byd newydd.

Eu hoes fo'n hiroes o hedd,—a gwyneb
Duw 'n gwenu 'n eu hanedd;
A'u llwyr sail oll ar sylwedd
A bery byth heibio'r bedd.

---

## PRIODAS

Capt. D. EVANS, o'r Llong "Sisters," â Miss CATHERINE MORRIS, Porthmadog.

MEWN clau amod mwyn yw cylymu—dau
I wneud un mewn teulu;
A diddan cael deuddyn cu
Hyd einioes i gyd dynu.

Deuai y dydd dedwyddawl—i EVANS,
Efo 'i briod siriawl;
Er eu cysur cu oesawl—Duw fyddo 'n
Paradwyso 'u byd priodasawl.

---

## PRIODAS

Mr. O. WILLIAMS, Britannia Foundry, Porthmadog, â Miss S. M. JONES, Neptune Hall, Towyn.

EIN WILLIAMS a'i anwylyd—a unwyd
Gyda geneth hyfryd;

Hoffi 'roedd ei gwedd a'i phryd
A'i chalon ddifrycheulyd.

Os haeddawl wraig dlos addien—i Adda
Oedd Efa yn Eden,—
I'w foddhau cafodd OWEN
Un lân fyw o law nef wen.

Dau o'r un ffawd, dau o'r un ffydd—deilwng,
Yn dilyn gwir grefydd;
Un galon lon a'u gilydd
A fo'r ddau drwy 'u difyr ddydd.

---

## PRIODAS

Y Parch. D. GRIFFITH, ieu., Bethel, â Miss JONES, Pen-y-caerau.

Y DYDD hwn, DEWI ddoniol—a unwyd
Gyda'i ANN brydweddol;
Mwy un yw'r ddau mewn aur ddol,
Drwy ddewisiad urddasol.

Daioni a dywenydd—ddilynont,
Dan ddylanwad crefydd;
Boed gwyneb Duw a'i gynydd
Efo'r ddau drwy 'u difyr ddydd.

---

## AR OL GWRANDAW Y PARCH. W. WILLIAMS *(Caledfryn)* YN PREGETHU AR "Y REDFA GRISTIONOGOL."

I GYRHAEDD uchel goron—da ddaliwn
Hyd ddylaith yn ffyddlon;

Rhaid araws fel rhai dewrion
Yn y llwybr i enill hon.

Ein holl eirf i'w henill hi—raid arfer
I derfyn drwy weddi:
Rhedwn nes cael mawrhydi,
A chael braint uchel a bri.

Rhedwn mewn cariad brawdol,—yn deulu
Fo 'n dilyn y rheol,
I gyrhaedd y ragorol
Goron aur a geir yn ol.

Daw boreu da heb arwyl—na gofid
I'n gafael un egwyl;
Ceir unaw â'r Côr anwyl
Gwedi y gwaith i gadw gwyl.

Gwyl i Dduw a gwledd awen—gu i'r Oen
Goruwch y daearen;
Lle bydd y llyw byw, addien,
A mil myrdd 'n rhoi mawl. Amen.

---

## I'W OSOD UWCHBEN DRWS ADDOLDY.

Cadw dy lygad, gwylia dy galon
Yn Nhy Dduw beunydd, âg iawn ddybenion;
Ystyria gariad Crist a'i ragorion,
A'i eiriau grasol drwy 'i gywir weision;
A'i enw glân ac union—a ofni,
Ac ef addoli, mewn gwiw feddylion.

## I DDWFR.

Gwlybyr iach a gloywbur yw,—gwin anian
Gan Iôn i ddynolryw:
A didwyll ddiod ydyw
Dŵr i bob creadur byw.

---

## MEDDWDOD.

Myrdd a myrdd trwy 'i ffyrdd tra ffol—a ddenodd
I ddinystr tragwyddol;
Ni fedra dawn anfeidrol
Nodi ei ofnadwy ôl.

Rhyw ddu niwl roes ar ddynolryw,—gyrodd
Gewri byd i ddistryw;
Tra melldigedig ydyw,—
Hyll ddrwg yr holl ddrygau yw!

Dwyn dyn yn elyn a wnaeth,—er dinystr,
Dan ei ddrwg lywodraeth;
Dwyn y byd i gyd yn gaeth,
A dwyn elw dynoliaeth.

Llawer o Seion âi'n llwyr, ysywaeth,
Er gwarth a galar i dir gwrthgiliaeth;
Ac er dïaledd caru 'i hudoliaeth,
A byw 'n Iuddewon mewn ban au-dduwiaeth;
Mal hyn oll miliwnau aeth—yn feddwon,
O gell eu Dagon i golledigaeth.

**Byddai Ioan Madog yn fynych yn adrodd y ddau englyn canlynol o waith ei dad ar y testyn uchod.**

Hen arfer ofer afiach—yw meddwi,
Oes moddion erchyllach?

Gwae a fydd o'r gyfeddach—annuwiol,
A'r swyn farwol wna'r oes yn fèrach.

Gwrthuni a gwarth anian,—a dylif
O hudoliaeth Satan;
Drwy dylodi rhawd lydan
I uffern dost a'i ffwrn dân.

R. W.

---

## ENGLYN I'W GOFIO.

Y BLODYN wyneb lwyda,—a'r rhosyn
I dir isel wywa;
Dyn un wedd o'i hoew-wedd â
I oer fedd, a darfydda.

---

## IAITH YR AWDWR WRTHO EI HUN.

Y MAE cyfeillion mwynion i minau,
A dig elynion tanllyd galonau;
Rhai â theg wyneb rhagrith a gwenau,
A gwelw wenwyn ar eu cudd golynau;
Eraill hyd engyrth dir oerllyd angau
Lynant, gan ddyfal ddal fy meddyliau;
Ond yn yr olaf dònau—Iesu mad
A'i dirion gariad ydyw 'r un gorau.

*Ionawr 2, 1872.*

---

# BEDDERGRYFF, &c.

## DEWI WYN O EIFION.

DYMA fedd, diwedd DEWI—WYN, Eifion,
A fu'n tra rhagori;
Prif gethlydd broydd, a'u bri,
Is daiar yn distewi.

Mawr odlwr â môr o hyawdledd,—pen
Pinacl dysg a rhinwedd;
Ac ang enaid cynghanedd
Synai y byd, sy'n y bedd.

Llafurio 'n effro wnaeth—o ochr heddwch,
Rhyddid, a gwybodaeth;
Dileu rhodres, gormes gaeth,
Roddai niwl ar ddynoliaeth.

I'w deg wlad dug oludoedd—awen gain
F'ai yn gudd er's oesoedd;
Rhodd Naf o ardd y Nefoedd,
A gem aur i Gymru oedd.

Agorai ddorau y gerdd eirian,—dygai
Degwch natur allan;
Ag â'i rywiog orhoian,
Awdwr dewr, rho'ir byd ar dân.

Gwel ac wyla o galon—ar dŷ oer
DEWI WYN o Eifion,
Y dewraf o awduron
Gyrhaeddai deg wraidd y dôn.

Gemau 'r awen Gymröawl—oedd yn ei
Ddoniau anghydmarawl;
Rhinweddoldeb gwyneb gwawl
Oedd arno yn addurnawl.

Prif awdwr puraf ydoedd—o fyg reddf
Goruwch y prif oesoedd;
Athraw hudawl weithredoedd
Pen y gamp awenawg oedd.

---

## BEDDARGRAFF DEWI WYN O EIFION.

*(Buddugol).*

O DDAEAR isel prif fardd yr oesoedd
Gyrhaeddai nwyfawl gerddi y nefoedd;
Sain ei gain odlau synai genedloedd,
Hir fydd llewyrch ei ryfedd alluoedd;
Oeswr a phen seraph oedd,—pen campwr,
Ac Amherawdwr beirdd Cymru ydoedd.

---

## GUTYN PERIS.

ING athrwm angau uthrawg,—ucheldrem,
Roes chwildro 'n Mraich-Talawg;
Gan ei rym, gwae ini rhawg,
Chwalodd ein Twr uchelawg.

Bardd PERIS goris y gweryd,—gwedi
Gadael pethau'r bywyd;
Gwywodd awen gu ddiwyd
Yn dwyn ffrwyth da yn ei phryd.

Diwreiddiwyd hardd gedrwydden—fu liwdeg
O flodau yr awen:
Eos byd, ei oes i ben—
Ol adwyth marwawl Eden!

Gwae! eto 'n ol GUTYN aeth,—llenyddwr
Llawn aidd a gwybodaeth;
Iawn addurn awenyddiaeth
O dan y gŵys, yn dŷn gaeth.

Fe ddarfu'r haf; O ddirfawr ofwy!—daeth
Dwthwn du ofnadwy!
Marw Awdwr cymeradwy,
A mawr na fu fawr ei fwy.

Manylfardd mwyn ei elfen—a fydrai 'n
Fedrus er yn fachgen;
Nerthawg a bywiawg o'i ben
Y rhedai hoew ffrwd awen.

Cain odlwr y cenhedloedd,—gwir Ofydd
O gryfion alluoedd;
Gem yr iaith, digymhar oedd,
Yn addurn i'w flynyddoedd.

Dyn i ddyn oedd GUTYN gall;
Dyn i Dduw, dyna oedd well;
Emynu dim mwy nid all,
Aeth i'r gau a dieithr gell.

Ffarwel lyw a pherl awen,—angelion
Fo 'n gwylio 'i dywarchen;
A lili, bwysi ar ben
Ei ddaear dan werdd Ywen.

Yma, er nerth a mawrion wyrthiau,—dysg
A doeth wybodaethau,—
Gwegi i gyd, gwag a gau,
Yw gwr pan ar y gorau.

---

## IEUAN GLAN GEIRIONYDD.

*(Buddugol).*

Fel Bardd rhagorol, ddoniol Dduwinydd,
Bu 'n fri i'w genedl, bu 'n fawr ei gynydd;
Ac mewn nefol swyn fel mwyn Emynydd,
Ei ddawn bêr, rywiog, wefreiddia'n bröydd;
A byw yr erys fel gwych Berorydd,
A diwall hynod Feirniad, a Llênydd,
A thyner wlith Awenydd—Cymru ŵyl
Fydd ddagrau anwyl ar fedd Geirionydd.

---

## ELLIS O. ELLIS, BRYNCOCH.

*(Buddugol).*

Ow! dan oer leni rhoed iawn arlunydd,
Nas bu ei lawnach o ddawn ysblenydd;
Un a'i heirdd luniau roddai lawenydd
I'w wlad a'i genedl wrth wel'd ei gynydd:
A'i "Oriel" anhefelydd—a geidw
Glod ei fyw enw tra gwlad Eifionydd.

## EDWARD JONES, MAES Y PLWM.

Os hen gânau Seion genir,—enw mwyn
Fardd Maes y Plwm berchir;
Athroniaeth gras feithrinir
Yn ei waith a'i awen wir.

Ei fawr awen yn forëawl—a urddai
Mewn harddwch santeiddiawl,
A rhoes ei oes rasusawl
I'w Iôr i fyw er ei fawl.

Drwy 'i einioes codai rinwedd—a moesau
Yn meusydd anrhydedd;
A thrafod mawrwaith rhyfedd
Iesu glân oedd rhwysg ei wledd.

O fyw fôr ei ddwfn fyfyrion—yfai'r
Nefawl bererinion;
Dillynaidd ffrydiau llawnion
Yn llawenhau Gwinllan Ion.

Mae ei anwyl Emynau—yn tŷnu
Tân Duw i'n serchiadau;
Y mae eu rhin yn mawrhau
Iaith wir yr Ysgrythyrau.

Ffrwythau 'i ddawn gyflawn ar g'oedd—a barhânt
Yn bêr eu blâs bythoedd;
Un ro'i Naf o fro'r nefoedd
Yma i wneud Emynau oedd.

## SION WYN O EIFION.

(Barnwyd y ddau Doddaid canlynol yn gyd-fuddugol).

Swyn awen nefawl Sion Wyn o Eifion
Ddyry fyw fawredd ar ei fyfyrion;
Gwiw athraw hynaws, ac ieithwr union,
A da dduwinydd fu i'w gyd-ddynion;
Yn ei dynerwch dan dònau oerion,
Yn mawl ei Iesu cai falm i'w loesion;
Ei lwybrau 'n neddfau glân Ion—a gofir,
A'i wir les welir i'w oloesolion.

### ARALL.

Aeth Bardd gorweddog Chwilog uwch alaeth;
Cofio 'i dynerwch gyfyd ein hiraeth,—
Chwiliai neuaddau 'n huchel lenyddiaeth,
Agorai ddyrys gloiau'r gerddoriaeth;
Trwy ei ddoeth addysg treiddiai i ieithyddiaeth,
A'i ddoniau addas ro'i i dduwinyddiaeth;
Drwy ei enwog ymdriniaeth,—Crist a'i groes
Garai hyd einioes mewn gwir grediniaeth.

---

## DAFYDD IONAWR.

Gair Naf yn benaf beunydd—oedd enaid
Ei ddoniau ysplenydd,
A gwir argraff seraph sydd
Ar ei fwyn gref awenydd.

## ELLIS OWEN, CEFNYMEUSYDD.

*(Buddugol).*

DIWEDDAI harddwch, a dedwydd hirddydd
Y cyfiawn moesawl Fardd Cefnymeusydd;
I'n hiaith a'i hurddas bu 'n addas noddydd
Yn ysbryd hynaws ei bert awenydd;
Rho'i wledd a chroesaw—bu' n llaw a llywydd
O fawr dda fwyniant i feirdd Eifionydd:
Ffrwyth ei ddawn faethlawn a fydd—arosawl,
A'i fawl yn fythawl fel Hynafiaethydd.

---

## HUGH BREESE (*Hugh Medi*), LLANBRYNMAIR.

*(Buddugol).*

YMA er alaeth i blith marwolion,
Mudwyd i orwedd HUGH MEDI dirion,
Oedd lwys awenwr o dduwiol swynion,
O gryf ddihalog dreiddgar feddylion,
Fu 'n gwasgar goleu ei foreu fyfyrion
O air Duw beunydd mewn purdeb union;
Gloes hir fydd i eglwys Ion—am symud
Y cywir, astud, hardd, ieuanc, Gristion.

---

## WRTH FYNED AT FEDD HUGH MEDI.

AF yno 'n wyl fy hunan i wylo—ar fedd
Y crefyddol Gymro;
Ei enw a'i lwch anwyl o,
A'i farddas barchaf erddo.

## MR. WILLIAM OWEN, TREMADOG.

*(Buddugol).*

Am ein mwyn William mae'r wlad mewn alaeth;
Rhoddai 'i iawn haeledd fri i'r ddynoliaeth;
Bu 'n para i arwain meibion peroriaeth,
A'i gôr hudolus enwogai'r dalaeth;
Ac ôl ei addysg helaeth—fydd eto
Yn fawl llawn iddo tra fo llenyddiaeth.

---

## ER COF AM JOHN ROBERTS, BRYNTIRION, MAENTWROG.

O Feirion deg! fawr yn ei dydd,—dygwyd
Dy degwch ysplenydd;
Aeth seren yr awen rydd,
A'i choron dan ei chaerydd.

Enaid y gân o dy gôl—wedi myn'd
I'r byd mawr trag'wyddol;
Lle nad oes, llun dewisol,
Obaith o neb byth yn ôl!

Gyfaill clau, mwynhau mewn hedd—gobeithiaf
Gei bythoedd heb ddiwedd;
Byw 'n eirian heb anwiredd,
Fry â Duw mewn hyfryd hedd.

Gan nychdawd hynawd hunodd:—ow! bèr hynt
I barhâu a gafodd;
Ei ddu boen a ddybenodd,—
Niwaid fu newid ei fodd.

O fydd angeu a'i ddu ingoedd—fe aeth
I fyd yr ysbrydoedd:
Hynod fachgen addien oedd,
A llawer o alluoedd.

Duw Iôr byw roes, hyd o'r bru,—ddawn iddo
Yn addurn i Gymru:
Mawr, fawr fardd, mor foreu fu!
Hir a fydd i'w ryfeddu!

---

## CYNDDELW.

Cynyddawl oes eirian Cynddelw siriol
Wedi hir fwyniant ddeuai 'n derfynol;
Oedd fardd ac ieithydd, duwinydd doniol,
A mawr hanesydd amrywion oesol;
A meddai olud doniau meddyliol,
A'i weinidogaeth fu 'n wledd fendigol;
Wrth y Groes mewn nerth grasol—pregethai,
A gwir ryfeddai Gymru grefyddol.

---

## JOHN ROBERTS *(Ioan Twrog)*, MAENTWROG.

*(Buddugol).*

Am Ioan Twrog, fardd mwyn naturiol,
Hir leinw hiraeth ei fro lenorol;
Oedd un nodedig, o ddawn hediadol,
O ddilwgr addysg, a meddwl gwreiddiol;
Ac yn ei ïraidd wanwyn cynarol
Fe roddes ini wir farddas swynol,
Ac yna aeth o'u canol,—mewn goleu,
I'w urddo 'n foreu gan feirdd anfarwol.

## Y PARCH. JOHN JONES, TALSARN.

Gwres santaidd tanbaid ei enaid doniol
Oedd yn newr fyddin ei Dduw 'n rhyfeddol;
A'i ymadroddion mewn grym hydreiddiol
Yn siglo meirw o'i cysgle marwol;
A bu ei lafur bywiol—dros grefydd
Yn fywyd newydd i fyd annuwiol.

---

## Y PARCH. LL. SAMUEL, BETHESDA.

Mewn daiar yma 'n dawel—yr huna'r
Hynaws Barch. Ll. Samuel;
Dyn i'w oes oedd—yn dwyn sêl
Yn achos ei Dduw 'n uchel.

Gŵr hoffai'r nef o graff farn oedd,—a mawr
Mewn gras a gweithredoedd;
A'i ddawn yn gyflawn ar g'oedd
Yn felus swynai filoedd.

---

## ER COFFADWRIAETH AM JANE, PRIOD Y PARCH. JOHN JONES, TREMADOG.

Yr hon a fu farw Ebrill 11eg, 1837, yn 54 mlwydd oed.

Angau sŷn a'i eang saeth—ddirymodd
Rwymyn y ddynoliaeth:
Morwyn Nêr, Ow! marw a wnaeth,
I'r gweryd diragoriaeth.

Ffyddlon o galon fwyn gu,—yn uchel
Yn achos Crist Iesu:
I'r Ysgol Sabbothol bu
Yn addurn—hir weinyddu.

O dan ofal Duw y Nefoedd,—i'w bedd,
Bu fyw 'n ddiargyhoedd;
Yn ei bywyd, diwyd oedd,
A bendigedig ydoedd.

I d'lodion gwaelion eu gwedd,—beunyddiol
Bu 'n nawdd ac ymgeledd;
Cyfranai,—côf o'i rhinwedd
A fydd byth tra fyddo bedd!

Gwraig oleu gywir galon,—Duw 'n obaith
Adnabu, a digon:
Wel, yn iach mwyach am hon,
I groesawu gwŷr Seion!

Trwy ddirifedi fydoedd—adref aeth,
Darfu 'i holl flinderoedd:
Sail ei phroffes hyles oedd
Ar Iesu, craig yr oesoedd.

Na bod yn ôl yn ein byd ni—mewn nych,
Mae'n well filwaith iddi
Y'ngwledd fras, angelaidd fri,
Golud glân gwlad goleuni.

Yno o dwrf blin daearfyd,—mewn hedd
A mwyn hwyl i'w hyspryd,
Iawn eilia i'w hanwylyd,
Ag awen bêr, gwyn ei byd.

Gŵyr yn awr i gywir nôd—beth yw byw
Byth heb boen na phechod,
Y'ngwawl yr anfeidrawl Fôd
Mor ddedwydd a'r mawr Dduwdod.

---

## Y PARCH. JOHN JONES, TREMADOG.

Hir draddodi'r gwir ar g'oedd—yma fu,
Am fawr ras y nefoedd;
A'i bert ddawn fwyneiddlawn oedd
Yn felus wledd i filoedd.

---

## I MR. JOHN EVANS, *Farrier*, PENTREFELIN.

(*Buddugol*).

Yn ben Mil-feddyg bu 'n mawl ei foddion,
Yn rho'i o'i brifwaith gelfyddgar brofion,—
A'i lês i'w wlad drwy ei fâd ymdrafodion
Gododd ei enw i serch ei gyd-ddynion;—
A ffyddlawn roes ei hir einioes union
I waith ei Iesu, bu 'n nerth i'w weision:
O'r byd aeth yn ngherbyd Ion,—a geiriau
Y nefoedd olau 'n lloni 'i feddylion.

---

## I'W BRIOD, MRS. CATHERINE EVANS.

Ow! gwywodd daiar wraig dda a diwyd,
Ei llafur dyfal oll fawrhâi deufyd;

Dilyn yr Iesu y bu drwy 'i bywyd,
A'i Air glân, dyddan, oedd ei dedwyddyd;
Fel mam dwymn galon, dirion hyd weryd,
Cofir ei haddas deg gyfarwyddyd:—
Os hen i'w bedd troes o'n byd,—o'i llanerch
Daw 'n wridog wènferch, dan radau gwynfyd.

---

## I'W MERCH, MISS MARY EVANS.

Aeth Mary i blith meirwon—yn mlodau
Ei dyddiau dedwyddion;
Gwael ei gwawr yw yr awr'on,
Oer a mud yn naear Mon.

Ffarwel i dawel flodeuyn,—oer fedd!
Darfyddodd fel gwyfyn;
Aeth yn fwyd i'r abwydyn,
O'i hurdd glwys i bridd y glyn.

Er hawddfyd hyfryd a hedd,—er iechyd,
Er uchel anrhydedd,
Bwrir ni bawb i orwedd
O ferw'r byd ar fŷr i'r bedd.

---

## GEORGE CASSON, YSW., BLAENYDDOL.

*(Buddugol).*

Doeth a da wladwr, fendithiai d'lodion,
A'u nawdd a'u cysur mewn ing oedd Casson;
Pob cŵyn chwiliai, dilëai ddadleuon;
Hedd fu dywenydd ei fywyd union,

Drwy ein holl frödir fe welir olion
Ei law ddaionus ar lu o ddynion;
Am ei lês saif melus sôn—gan filoedd
Tra berwo 'n moroedd, tra bryniau Meirion.

---

## MISS G. M. PHILLIPS, UNIG FERCH MR. J. PHILLIPS *(Tegidon)*, PORTHMADOG,

**A fu farw Medi 28ain, 1861, yn 24ain oed.**

Ow! bèr oedd y daith, i bridd du—â'i un
Oedd anwyl gan Iesu:
Maith ddolur rwymai' theulu
Mewn mawr gŵyn am un mor gu.

Gwyryf ŵyl hawddgaraf wedd,—hynod oedd
Mewn dysg, moes, a rhinwedd;
Ymaith aeth,—caed esmwyth hedd
Efo 'i chwaer fach i orwedd.*

Ond pwy fyth all wybod pa faint—yw gwerth
Ei gwir oruchelfraint?
Ail wanwyn heb ol henaint,
I'w haros sy'n nghwmni'r saint.

---

## MR. HUGH ELLIS, LLETY.

*(Buddugol).*

Mae ein Hugh addfwyn mewn hedd—troes ei boen
Tros byth yn orfoledd;

* Yn mynwent Llanycil.

Mawrhai 'i enw mae ' rinwedd,
A'i hardd foes sy'n urddo 'i fedd.

A difrif fron cadwai 'i fawr fri—heb fwlch,
Heb falchedd na gwegi;
Duw ei grêd wrandawai gri
Ei hydreiddiol daer weddi.

Ei fanwl yrfa union—orphenodd
Ar hoff fynwes Seion;
Ac ar ei groes, a'i goron,
Y cerfiodd werth crefydd Ion.

## MRS. EVANS, PRIOD Y PARCH. E. HERBER EVANS, CAERNARFON.

Os dydd dwys mewn cystudd du—a welodd,
Daliai 'i ffydd heb ballu;
Ei holaf awr yn elw fu
Yn ngrasol angeu'r Iesu.

Os gwanwyn clws ei gynydd—a gafodd
I gofio 'i Chreawdydd,—
Haf o lawn nef-lawenydd
O'i phridd oer a gaiff ryw ddydd.

## TRI O BLANT MR. EVAN JONES, CONTRACTOR, PORTHMADOG.

Mal y brau gwmwl borĕol—y bu
Eu bywyd daearol;
Draw ffoisant, dri hoffusol,
Yn fuan i'r nef yn ol.

## JANE MINNIE, MERCH HYNAF Y PARCH. T. OWEN, PORTHMADOG.

Ei hardd a denol rudd dyner—wywodd
Awel boreu amser;
A myn'd a wnaeth i'r mwynder,
At dorf o saint rif y sêr.

---

## ELIZABETH, MERCH CAPT. W. HUGHES, "ARIEL," PORTHMADOG.

Eiddo Iesu oedd isod,—a'i eiddo
Yw heddyw 'n ei wyddfod,
Efo 'r iach dorf fawr uchod—
Yn eu gwledd sy'n taenu 'i glod.

---

## ELLEN ROGERS, UNIG BLENTYN CAPT. MORRIS ROGERS, PORTHMADOG.

Ei swynol lais a'i hanwyl wedd—oeddynt
Iddi yn anrhydedd;
Ow! wyro 'n foreu i orwedd—
Ellen bach dan gloion bedd.

Holl seiniau ei llais swynol—hir gofir
Er gwyfo 'i gwedd siriol;
Gan hiraeth âi'n gynarol
I fro y nef fry yn ol.

## JOHN JONES, GLANGWYNANT.

*(Buddugol).*

Gwel unig annedd John Jones, Glangwynant,
Hen flaenor duwiol o oesol lesiant;
Am waith ei Arglwydd mewn uchel lwyddiant
Bu'n hir ofalu—bu'n ŵr o foliant;
Fel enwog swyddog a sant—bu'n gweithio
Yn ddyfal erddo drwy ddwyfol urddiant.

---

## CADBEN JOHN EDWARDS, PORTHMADOG.

Oh! am ein Edwards oedd ddyn mwyn odiaeth
Yma yr erys cŵyn a mawr hiraeth;
Am rinwedd uchel ei synwyr helaeth
Ei enw teilwng a barcha'n talaeth;
Ar y môr heli 'n ngrym ei 'reolaeth,
Bu 'n Llywydd cyflawn drwy iawn ymdriniaeth;
I oer dir y beddrod aeth—priod mâd,
A dyn i'w alwad yn llawn dynoliaeth.

---

## CADB. EVAN WILLIAMS, IEU., SCHOONER "LORD PALMERSTON."

Y byd o'i ogylch ar enbyd eigion
Am hir a hwyliai mewn mawr awelon,—
Oedd ddoeth ei eiriau—ddyn hardd a thirion
A feddai loew feddyliau ëon;
Ond trwy lif du 'r olaf dòn—buan aeth
O'i rym er alaeth i fro marwolion.

## CADB. LEWIS DAVIES, LLYWYDD Y "JANE AND MARY," PORTHMADOG.

Ow! fe droes Lewis, oedd fedrus lywydd,
I angau 'n wywol o'i hardd long newydd;
Un difyr, diwyd, a da fordwyydd,
Fu 'n llawn ymdrechion, byw 'n union beunydd;
Ond awel deg ei dywydd—dymunol
Ddarfu ar ganol ei ddirfawr gynydd.

---

## JOHN DAVIES, TREGUNTER ARMS, PORTHMADOG,

**Yr hwn a fu farw Awst 4ydd, 1874.**

Ow! yn mrig oes un mor gu—wywai 'n llwyr
Yn llaw ei fwyn deulu;
Cuddio 'i wedd mewn dyfnfedd du
Wnai i laweroedd alaru.

Yn hynaws lanc, tàl, heini,—fe gaiff ef
Ei goffâu a'i hoffi;—
Gwir gyson brofion er bri
O'i synwyr a roes ini.

Ei oes a roes i'r Iesu—yn gynar,
Gan ei ogoneddu;
I grefydd beunydd y bu
Yn achos llawenychu.

Iawn a fu yn ei fywyd—yn hwylio
Drwy'r heli terfysglyd;
A moriodd i'w lwm weryd
Yn ei barch drwy dòn y byd.

## Y TYWYSOG LLYWELYN.

Llywelyn enwog ardderchog ddyrchodd,
Ein gwlad a'i doniau, ei glod a daenodd;
Ei galon dyner a glân a daniodd
Mewn gwir wladgarwch—ein heddwch noddodd,
A'i enw 'n anwyl byth a eneiniodd
Fal Llywydd olaf—ei allu ddaliodd,
A thros ei wlad fâd o'i fodd—ei gorph prid
Ar allor rhyddid i'w ddryllio roddodd.

---

## CADB. WILLIAM JONES, SCHOONER "ALICE," PORTHMADOG.

Ow! ddwyn ein teilwng, hoff ddyn o'n talaeth
I'w dŷ oer marwol,—mor drwm yw hiraeth!
Dyn hardd, haelfrydig, caredig odiaeth,
O fri a synwyr, o fawr wasanaeth,—
Gwelodd y byd, a chasglodd wybodaeth
O dir, môr, awyr, oll drwy 'u hamrywiaeth;
A chalon bur, parch helaeth—yn ddilys
I'w enw mawr erys yn ein Morwriaeth.

---

## MR. EDWARD OWEN, SADDLER, TREMADOG, A'I WRAIG, MRS. C. OWEN.

Trwm fu daearu gwraig addfwyn, dirion,
Gyda 'i theg addysg, a'i doeth agweddion;
Bu er daioni mewn ysbryd union,
Yn byw i'r Iesu, yn bur i'w weision;

A mawrhau ei gŵr wneir am ragorion
Ei rinwedd beunydd drwy iawn ddybenion;
Hwy gawsant gyd-fyw 'n gyson,—cânt hefyd
Yma esmwythyd am oesau meithion.

---

## MR. JOHN ROBERTS, BERLIN HOUSE, PORTHMADOG.

HYD ei daith dyn diwyd oedd,
Gai enw da gan gannoedd;
Caed gonestrwydd, llwydd, a llês
O fewn ei dawel fynwes;
Dan bwys nych mynych bob modd,
Teg eiriau Crist a garodd;
Ow! ro'i ei fath mewn oer fedd,
O ganol ei ogonedd.

---

## CADBEN WILLAM PARRY, WAEN, MORFA NEFYN.

Ow! PARRY, deilwng fardd pêr y dalaeth,
O'i fri mawr alwyd i fro marwolaeth;—
Oedd ddyn nodedig, caredig odiaeth,
A mawr ei addysg yn nhrefn Moryddiaeth;
A'i fynwes dirion mewn dwfn ystyriaeth
Gywir adwaenai Dduw ei grediniaeth:
Ei hoff rin, a'i ddoniau ffraeth—fawrygir,
A'i fedd anwylir tra 'n fyw ddynoliaeth.

## FY CHWAER, MRS. MARY JONES, CEFN BYCHAN.

CHWAER anwyl o wych rinwedd—am hiroes
Fu MARY 'n mhob agwedd;
Hardd ddilyn mewn urddoledd
Ei Duw y bu hyd ei bedd.

---

## FY MRAWD, THOMAS WILLIAMS, PORTHMADOG,

Yr hwn a fu farw Chwefror 13eg, 1841, yn 34 mlwydd oed.

O! MRAWD anwyl mewn mawr dònau,—yfaist
O afon cystuddiau;
Ce'st brofiad diweddiad dyddiau—heb rus,
O nos gyfyngus ogof angau.

---

## ER COF AM DDAU BLENTYN MR. WILLIAM WILLIAMS, AC ELIZABETH EI WRAIG, BOSTON LODGE, PORTHMADOG.

ION alwai 'i ddau anwylyd—foreu 'u hoes,
I'w fawrhau mewn gwynfyd;
Iach o gur uwch y gweryd
Yw'r ddau bach yn hardd eu byd.

---

## CATHERINE, PRIOD MR. RICHARD WILLIAMS, BRITANNIA TERRACE, PORTHMADOG.

I'w siriol ŵr erys hir loes—yma
Am ei wraig fwyneiddfoes;
Ar ol y ferch i'r eiloes
Yn fawr ei pharch fry y ffoes.

---

## MR. ROBERT HUMPHREYS,

Yr hwn a fu am flynyddau yn Arweinydd o Lanberis i'r Wyddfa.

ARWEINYDD da 'i ddydd oedd ef—i'r Wyddfa,
Wr addfwyn llawn tangnef;
Hoffodd Grist, ac yn ei ffydd gref
Arweiniwyd yntau i'r Wiwnef.

---

## J. T. JONES, MAB HYNAF JOHN A CATHERINE JONES, Y LLONG "SAMUEL HOLLAND."

DIFYRUS drwy 'i hyfryd forau—y bu,
Mor bert oedd ei eiriau;—
Mwy er hyn ni cheir mawrhau
Ei swynol lais, a'i wenau.

---

## MR. THOMAS PRICHARD, PENRHYN-DEUDRAETH.

AM THOMAS anwyl, ddyn gwyl, hael galon,
Hiraethus awel leinw byrth Seion:—

Ei rin oedd enwawg, rho'i nawdd i weinion;
Ei fynwes gynes a doddai gwynion;
A'i fawl sydd genym fel swyddog union
A thad, y'nghariad ei fwyn gynghorion;
Urddas, a gwir addysg Ion,—yn gywir
Trwy 'i fywyd welir tra fo duwiolion.

---

## FY MAB.

Ein Iôr gwyn a ro'i genad—i angau
Wneuthur ingol rwygiad,—
Dwyn fy machgen mwyn a mâd
I'r dufedd ar ei dyfiad.

---

## MISS MARGARET GRIFFITHS, KING'S HEAD INN, CAERNARFON.

Hon adwaenid yn un dyner—a mwyn,
Yn llawn moes a gwylder,—
Iawn rodio gan roi 'i hyder
Ar Iesu wnai 'n ngras ei Nêr.

---

## MR. WILLIAM FOULK, DECHREUWR CANU YN NGHAPEL TREMADOG.

Gwely 'i serch oedd Eglwys Ion,—a'i fwyn lais
Fu 'n wledd i blant Seion;
Heddyw ei bêr dyner dôn
Sy'n felus i nefolion.

## MRS. ANN JONES, 39, BRIDGE STREET, CAERNARFON.

Yn y du weryd rhoed-gwraig fwyn, dirion,
A da or'chwyliaeth Duw ar ei chalon;
Mewn ysbryd tawel, isel, a chyson,
At achos crefydd bu 'n rhydd ei rhoddion;
A gwledd nefolaidd i lwydaidd d'lodion
Fu ei daionus hardd fywyd union;
A chynes serch hanes hon—mewn parch gwir,
Yma hir gerir am ei rhagorion.

---

## ELLIS ROBERTS, MAB CADB. HUGH ROBERTS, O'R BRIG "EVELYN," PORTHMADOG.

Er i'w dlws hyfrydol wedd—wywo 'n llwyr
Yn llaw angeu rhyfedd,
Daw'r boreu caiff drwy buredd
Gorph heb ôl argraff y bedd.

---

## MRS. LAURA LLOYD A'I MAB, MR. W. W. LLOYD, PORTHMADOG.

Un diwyd, hyfryd, llawn hedd—fu William,
Fel ei fam lân fuchedd;
Parhau i weini 'n mhob rhinwedd
I Dduw y bu'r ddau i'w bedd.

---

## MR. JOHN JAMES, PILOT, BORTHYGEST.

Dyma fedd dyn da, diwyd,—hir hwyliodd
Drwy'r heli terfysglyd;
Uniawn fu 'n nawn ei fywyd
Yn rho'i 'i holl bwys ar well byd.

## LAURA, MERCH MR. F. LLOYD, SHIP-CHANDLER, PORTHMADOG.

I'w rhieni da eu rhinwedd—erys
Hiraeth am ferch degwedd;
Ow! i'r hyf angeu rhyfedd
Gau LAURA bach dan glo'r bedd.

---

## CADB., EVAN DAVIES, GWYNDY, TALSARNAU.

GWR anwyl, hawddgar, union,—a difyr
Oedd ein DAVIES dirion;
Dyn a gwaelod iawn galon—
Dyn o werth adwaenai 'i Ion.

Hardd edrych ar ddiwydrwydd—un a fu
Yn fawr o blaid sobrwydd;
Gwiw forwr—oedd gyfarwydd
A'r môr a'i lif, er mawr lwydd.

---

## I RICHARD WILSON, YSWAIN, R.A.

*(Buddugol).*

O FOREU 'i yrfa eirian—rho'i oleu
Ei athrylith allan,—
Darluniai, dilynai 'n lân
I'r linell ar ol anian.

Yn llaw ei oes bu 'n llesol,—dyg iddi
Deg addysg gelfyddol;
A'i gywir waith geir o'i ôl
A syna 'r oes bresenol.

## MR. GRIFFITH JONES, TAN-Y-BRAICH, GARN.

DIAU yma, da a diwyd—oedd GRUFFYDD
Graffus, hael ei ysbryd;
Dewr a fu drwy ei fywyd,
A rhoddai fawl i'r ddau fyd.

HEDDYW sŵn prudd sy'n parhau—am wiw dad,
Am deg ferch hardd foesau;
Brochus ddwfr ddyg barchus ddau
O dan ei oerion dònau.

DRWY iawn gred ar Iawn y groes—hir ddaliodd
Ar ddelw 'i Christ eirioes,
Ac aeth mewn hedd ddiwedd oes
Ar ei lun i'r ail-einioes.

## AR OL GWEINIDOG.

IAITH oes a gyfyd hiraethus gofion
Am was Duw fwriwyd o'r maes at feirwon;
Y nefoedd oleu lanwai 'i feddylion
I waith daionus achubiaeth dynion,
A thraethai 'i enau athrawiaeth union
Gras Duw a'i gariad, drwy Grist a'i goron;
Ei awen foriai mewn dwfn fyfyrion,
A'i fawr hyawdledd oedd wledd hyfrydlon;
Er rhyfedd dwrf yr Afon—daliai 'i ffydd,
A'i â thân crefydd drwy 'i thònau cryfion.

PWLLHELI: ARGRAFFWYD GAN RICHARD JONES, 19, HEOL FAWR.